haneswyr crefyddol Cymreig. Anhawdd yw dywedyd pa effaith a gawsant ar y Llywodraeth, heb law cael yr Ysgrythyrau yn Gymraeg, ac, fe allai, yr 'Act o Unffurfiad' i ddiwygio y '*Disorders in the service of God.*' Bernir mai un yn ceisio diwygiad *yn* yr Eglwys ydoedd Penry, ac nid Anghydffurfiwr hollol *oddi wrthi.* Am

JOHN PENRY, neu JOHN AB HENRY, bernir iddo gael ei eni yn y Cefn Brith, ym mhlwyf Llangamarch, yn sir Frycheiniog, ac ei fod yn deilliaw o hen deulu boneddigaidd a fuasai yn byw mewn lle a elwir Llwyn Cyntefig, o deulu a honent eu disgyniad oddi wrth Elystan Glodrydd, un o ba rai a elwid Henri ab Owen, a'r hwn, tuag amser Harri (neu Henri) VII, a gymmerodd y cyfenw *Henry*, a'r hwn, gan dafodau y werin a aeth yn *Penri.** Ganwyd ef yn 1559, y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad Elisabeth. Anfonwyd et i gael ei ddysgeidiaeth i Gaergrawnt—i Goleg Sant Pedr, pan yn bedair ar bymtheg oed. Yno y daeth yn adnabyddys ag egwyddorion y Puritaniaid. Efrydodd yno hyd agos i gyrhaedd ei radd o A.C., ac yna symmudodd i Rydychain. Yr oedd Puritaniaeth yn cael ei choleddu a'i noddedu yn fwy yno nag yng Nghaergrawnt yn y dyddiau hyny, gan fod Iarll Leicester, y Canghellwr, yn tueddu atynt; a'r Dr. Reinolds, yn Ddarllenwr Duwinyddiaeth yno, ac wedi hyny yn Llywydd Coleg *Corpus Christi.* Yr oedd Rhydychain hefyd yn gyrchfa gyffredinol efrydwyr o Gymru. *St. Alban Hall* oedd y coleg y derbyniwyd ef iddo, a chafodd ganiatâd i gymmeryd ei radd o A.C. Cafodd hefyd ei ordeinio y pryd hyn, a phregethodd yn Rhydychain a Chaergrawnt, a chyfrifid ef yn ysgolhaig gwych, yn bregethwr adeiladol, ac yn ddyn da; ond gan ei fod yn Gymro, cyfrifid ef yn orselog, meddai Wood, yn ei *Athenæ Oxonienses.* Pan y byddai gartref rhwng termau y coleg, efe a deithiai gymoedd a mynyddoedd y Deheudir, gan bregethu—a'r cyntaf yn y parthau hyny. Wrth weled agweddiadau tywyll ac anfoesol y wlad, efe a ysgrifenodd draethawd o flaen y rhai uchod,† yn galw sylw y Llywodraeth at y diffyg oedd yn bod. Yr oedd efrydwr arall o'r enw John Whitgifft. Yr oedd ef yn hynach o flynyddoedd na Penry. Gan y canfu y frenines ynddo ysbryd o'r fath ag a fynai fod yn y rhai a gaffent ffafr yn ei golwg, i'w gwneyd yn wŷr ei llys, ac yn rhai y gallai roddi ymddiried ynddynt, efe a godwyd yn fuan i'r sefyllfa uchaf o awdurdod yn yr Eglwys—yn Archesgob Caergaint;‡ ac hefyd yn Rhaglywydd Cyffiniau Cymru. Yr oedd yn gweinyddu ei swydd â llaw uchel. Yr oedd bod efrydydd ieuanc yn meiddio awgrymu ar gynllun i efengyleiddio y Dywysogaeth, ac yn enwedig y gellid gwneyd hyny trwy offerynoliaeth dynion heb dderbyn or-

* Jones's *History of Breconshire.* [*Ab Henri,* mae yn ddiau, a droed yn *Penri,* yn gyffelyb i enwau ereill o'r fath.]

† Gwel rhif 1, d.f. 1587.

‡ [Y mae yr awdwr yn y lle hwn, ac mewn llawer o fanau ereill, yn galw 'Caergrawnt' (=*Cambridge*) ar Gaergaint (=*Canterbury*). Nid oes nac *esgob* nac *archesgob* yn perthyn i dref *Caergrawnt,* na *phrifysgol* yn perthyn i ddinas *Caergaint.* Y mae amryw ysgrifenwyr ereill wedi gwneuthur y cyffelyb amryfusedd mewn perthynas i'r ddau le hyn.]

deiniad esgobawl, nac yr un arall, yn drosedd ag oedd yn peri i'r archesgob ryfeddu fod neb mor hyf a'i gyflawnu. Rhoddwyd gorchymmyn allan i attafaelu ei lyfrau, ac i'w ddal yntau, a thaflwyd ef i garchar, a gorchymmynwyd yn gaeth i'r ceidwad ei gadw yn ddiogel. Ym mhen y mis, dygwyd ef i gael ei holi, neu yn hytrach i'w geryddu, pryd y cyhoeddwyd mai heresiaeth warthus oedd meddwl nad oedd offeiriad yn wir weinidog yr Efengyl. 'Yr wyf yn diolch i Dduw,' meddai Penry, 'i mi wybod erioed am y fath heresiaeth, a thrwy ras Duw, mi a ymadawaf yn gynt â'm bywyd, nag yr ymadawaf â hi.' Priododd ferch i un Mr. Godley, o Northampton, ac ymsefydlodd yn yr un gymmydogaeth. Yr oedd yn y gymmydogaeth hòno hen balas mawr mewn coed anferth, o'r enw Ffawsley, yn yr hwn y trigiannai gwr boneddig o'r enw Syr Richard Knightley, yr hwn oedd yn llochesu y Puritaniaid, ac yn eu cynnorthwyo â'i arian; ac yno yn fynych y cyfarfyddai duwinyddion 'o'r ffordd hòno.' Wedi i Penry sefydlu yn Northampton, daeth Syr Richard i fod y cyfaill goreu iddo. Yr oedd y dirprwywyr yr Uchel Lys wedi penderfynu rhoi y pregethu i lawr, trwy ddefnyddio arfaethau y *Star-Chamber*,* yn erbyn argraffu, yn gystal a phregethu.† Galwyd a chyfarfu cynghor dirgel yn Ffawsley i ystyried y pethau hyn; a phenderfynwyd sefydlu argraffwasg ddirgelaidd, fel y gallent argraffu traethodau a fyddent yn llefaru ar bwnc yr amseroedd—yn erbyn esgeulusdra yr eglwyswyr am les ysbrydol y werin. Cymmerodd Penry arno ymofyn am le i'r argraffwasg, a chafodd ran o dŷ gwraig weddw yn Mouldsey, yn Surrey, o'r enw Mrs. Grant. Y gwaith cyntaf a argraffwyd yno ydoedd y Rhif 2, uchod, am y flwyddyn hon, a'r nesaf yn ebrwydd ar ei ol. Enw yr argraffydd ydoedd Waldegrave. Er bod y wasg yn ddirgelaidd yr oedd Penry bob amser yn rhoddi ei enw yn llawn—'John Penry'—wrth ei waith. Yr oedd papyrau Penry yn lled wallus o ran eu hargraff, gan eu bod yn cael eu gwneyd ar frys, a 'gallasai yn hawdd,' meddai un, 'fod llawer o wallau ynddynt, gan mai gwasg

* [Y *Star-Chamber* (neu y *Ser-Ystafell*, fel, hwyrach, y gellid cyfieithu yr enw) ydoedd ystafell nodedig yn Westminster, yr hon a elwid felly, fel yr ydys yn tybied, oddi wrth fod ei nen yn frith o luniau ser goreurog. Rhoddes yr ystafell ei enw i'r llys a gynnelid ynddi, yr hwn a gyfansoddid o amryw arglwyddi tymmorol ac ysbrydol, y rhai oeddynt gyfrin-gynghorwyr, yng nghyd â dau farnwr o lysoedd y gyfraith gyffredin, y rhai a farnent ac a ddedfrydent heb gyfryngiaeth rheithwyr. Yr oedd gan y llys hwn feirniadaeth ac awdurdod ar derfysgoedd, anudon, camymddygiad swyddogion cyhoeddus, ac amryw droseddwyr ereill, yng nghyd ag ar lawer o achosion gwladol. Daeth y llys hwn o'r diwedd yn dra llygredig a gormesol, fel y diddymwyd ef yn ystod teyrnasiad Siarls I.]

† Yr oedd penderfyniad neu arfaeth y *Star-Chamber*, am Ion. 29, 1566, fel hyn:—'That no person shall print or publish any book against the Queen's injunctions, ordinances, or letters patent, set forth, or to be set forth, or against the meaning of them.

'That such offenders should forfeit all their books and copies, and suffer three months' imprisonment, and never practise the art of printing any more.

'That no person shall sell, bind, or stitch such books, upon pain of twenty shillings for each book.'

bererindodawl ydoedd.'* Er anghyfleusdra mawr i Penry, ac er ei waethaf, argraffai Waldegrave ryw bethau ereill, dienw, yn enwedig traethodau, neu bapyrau bychain, yn cynnwys sylwadau isel, absenllyd ar y frenines, yr archesgob, a'r holl fainc eglwysig. Y ffugenw wrth y papyrau hyn ydoedd '*Mar-Prelate.*' Yn y flwyddyn hon yr argraffwyd y cyntaf o honynt, yn Kington, yn yr un gymmydogaeth.† Tueddwyd sylw yr archesgob at y papyrau hyn, a gosodwyd ysbiwyr i wylio symmudiadau y Puritaniaid; a phan ddaeth llwyth cert o daclau argraffu i dy Mrs. Grant‡ ryw ddydd Nadolig, hi a ofnodd, ac a gynghorodd ar iddynt gael eu dwyn yn ol i Northampton. Wrth eu dychwelyd yn ol, a'r ffyrdd yn arw, gogrynodd rhai llythyrenau allan rhwng dellt y fasged, a'r bachgen yn awyddus i wybod beth a allasent fod, a'u dangosodd i ryw rai. Pa fodd bynag, o'r diwedd dygwyd hwy i balas Ffawsley, ac oddi yno i ryw le yn y dref, ac wedi hyny i ffermdy yn Norton. Credai gelynion Penry mai efe ydoedd awdwr y *Mar-Prelates*, er ei bod yn amlwg i bob dyn o sylw fod gwahaniaeth mawr rhyngddynt a gweithiau addefedig Penry. Torwyd i mewn i'w dŷ yn Northampton, a chwiliwyd am dano, a chymmerwyd ymaith ei bapyrau a'i lyfrau. Rhoddwyd gorchymmyn i chwilio am lyfrau, papyrau, argraffweisg, argraffyddion, a llyfr-rwymwyr, a'u cymmeryd i fyny. Daeth hyn i glustiau Syr Richard Knightley, yr hwn a anfonodd ei was yn ebrwydd i hysbysu y pleidiau i ymlechu; ac yn brin iawn y diangasant. Yn Chwefror, 1589, cafodd Penry le i'r wasg yn nhy

* Ames's *History of Printing.*

† Dengys teitlau y ffaglau hyn, y fath oeddynt, a'r cynhwrf a allasent ei wneyd yn y deyrnas yn yr oes hòno :—'Certain demonstrative conclusions set down and collected by Martin Mar-Prelate the Great, serving as a manifest and sufficient confutation of all that ever the College of Catercaps, with their whole Band of Clergy-Priest, have, or can bring for the defence of their ambitious and Antichristian Prelacy—Published by *Martin Junior*, 1589, in octavo, and dedicated to *John Kankerbury*,' sef John [Whitgifft], Archesgob Caergaint. 'The just censure and reproof of Mart. Mar-Prelate to Martin Junior.' 'Protestation of Martin Mar-Prelate :. Wherein, notwithstanding the surprising of the Printer, he maketh it known unto the World, that he feareth neither proud Priest, Antichristian Pope, Tyrannous Prelate, or Godless Catercaps.' Wedi ei argraffu yn 1589, yn ddirgelaidd, ac yn llawn gwallau. 'Dialogue, wherein is plainly laid open the tyrannical dealings of the Lords Bishops against God's Children.' Printed in 1589. Cynnwysa hwn ryw chwedlau yn gwarthruddo y Dr. *Martin Culpeper*, Wardain y Coleg Newydd, yn Rhydychain, a'r Dr. R. Bond, a'i ddawns. Dywedir am un o honynt—'Printed where I was, and where I shall be ready by the help of God and my Muse, to send you a may-game of *Martinism.*' Yn 1590. 'Ha y any work for a Cooper,' yn erbyn Esgob Lincoln, enw yr hwn oedd *Thos. Cooper.* Am un arall dywedir, 'Printed over sea in *Europe*, within two furlongs of a bouncing Priest, at the cost and charges of *Mart. Mar-Prelate*, Gent. Yr oedd y blaid arall wrthi yn ysgrifenu yn yr un dull, megys y dengys eu henwau. 'Pappe with an hatchet: alias, A Fig for my God Son : or Crack me this Nut : Or, A Country Cuff; that is, A sound Box of the ear for the Idiot Martin to hold his peace : Written by one that dares call a dog a dog—Imrinted by John Anoke.' 'Martin's month mind.' 'A Countercuff given to Martin Junior.' 'An Almond for a Parrot, or an Alms for Mart. Mar-Prelate.'—Wood's *Athen. Oxon.* dan yr enw '*Penry.*'

‡ [Mrs. *Crane* yn y gynysgrif; ond ymddengys mai yr un â Mrs. *Grant* y tudalen blaenorol a olygir.]

Mr. Hales, yn Coventry, yr hwn oedd nai i Syr Richard, yr hon a symmudwyd wedi hyny i balas Syr Roger Wigston, i Woolston, gwraig yr hwn a roes barlwr bychan i'w gwasanaeth. Yr oedd Waldegrave wedi ymryddhau oddi wrth y wasg hon yn awr, ac un Hodgskins wedi cymmeryd ei le. Er mwyn gwell diogelwch iddo ei hun a'i deulu, symmudodd Penry i Scotland, ac aeth Waldegrave gydag ef, fel y gellid argraffu cynnyrchion ysgrifell Penry yno, sef yn Edinburgh. Talwyd yr holl draul, yn gystal a chynnaliaeth Penry a'i deulu, trwy ymdrech un Job Throgmorton. Er hyny, yr oedd yn hiraethu am 'anwyl dir ei wlad.' Tra yr oedd yno, symmudwyd y wasg o Woolston i Warrington, lle y cafodd y cariwr 'wasg argraffu, dwy gist o lythyrenau, basged, a chrochan pres;' a hwy a gludwyd i Fanchester, a chanfuwyd hwy yn Newton-lane, gan Henry, Iarll Derby. Cymmerwyd i fyny yr holl argraffwyr, a'r wasg a'r llythyrenau. Anfonwyd yn ebrwydd at yr archesgob, ac yntau a anfonodd at yr Arglwydd Drysorydd, yn erfyn arno ddyfod ym mlaen i'w cospi. Cymmerwyd y cwbl i fyny, o Syr Richard Knightley hyd y dyn oedd yn gyru y cart. Er yr holl holi a'r croesholi fu arnynt, ni chafwyd dim o bwys yn eu herbyn, gan mor ochelgar yr atebent, na dim i gael craff ar Penry, at yr hyn yr ymgeisid. Pa fodd bynag, anfonodd y frenines lythyr â'i llaw ei hun at frenin Scotland, Iago, yn deisyf arno beidio â chynnwys y fath grwydriaid yn ei deyrnas, ond eu halltudio o'i wlad. Ac i brysuro yr un amcan rhoddwyd allan warant, wedi ei harwyddo gan Whitgifft a phump ereill, yn hysbysu fod 'un John Penry yn elyn i'r llywodraeth, ac os yw heb ei gymmeryd fel y cyfryw hyd yn hyn, y dylent yn awr gymmeryd gwybodaeth a hysbysiad o hyny oddi wrthynt hwy, a'i gyfrif ef felly o hyn allan, ac y gwnaent felly wasanaeth da i'w mawrhydi.* Mewn ufudd-dod i erfyniad Elisabeth, anfonodd Iago ei lythyrau allan i alltudio Penry o deyrnas Scotland. Ond nid oedd gweinidogion Scotland mor barod i ufuddhau i hyn, eithr yn wir, attaliasant y cyhoeddiad ym mhob lle y gallent, gan gelu Penry, lle y cafodd gyfleusdra i roi allan lyfryn arall, er profi nad oedd y rhai ydoedd am ddiwygiad yn elynion i'w Mawrhydi a'r Llywodraeth. Tra yr oedd yn enciliedig yn Scotland, efe a gyfieithodd 'Egwyddorion Duwinyddiaeth' Theodor Beza ac Anth. Faius.

Gan nad oedd Penry yn gweled un gobaith am ddiwygiad yn na thrwy yr Eglwys Sefydledig—yr hyn yn ddiau yr oedd ef, ac agos yr holl ddiwygwyr yn ei geisio, efe a ymunodd â chymdeithas neillduedig a gyfarfyddent yn Southwarc, ac a elwid yn ammhriodol yn *Browniaid*.† Erbyn iddo ddyfod i Lundain, cafodd fod ei gyfeillion—un yn marw wrth y fodfedd yng ngharchar Marshalsea, ac un arall newydd ei ryddhau o garchar. Cymhellid Penry i gymmeryd y swydd weinidogaethol yn eu plith, ond gommeddai, am ei fod wedi bwriadu defnyddio ei dalent fechan yn ei wlad dlawd ei

* Baker's *MSS.* vol. xxi.

† [Pa beth oedd neu sydd ammhriodol yng ngalw canlynwyr Robert *Brown* yn *Frowniaid*, mwy na galw dilynwyr *Luther* yn *Lutheriaid*, dilynwyr *Calfin* yn *Galfiniaid*, neu ddilynwyr *Wesley* yn *Wesleyaid?*]

hun, Cymru, 'lle y gwn fod y bobl dlodion yn meirw o eisieu gwybodaeth.' Yn awr yr oedd Penry eto yn ei elfen, ym mhlith cyfeillion ag oedd wedi tyngu ffyddlondeb i'w gilydd, ac i gadw pob cyfrinach o weithrediadau eu cyfeillion; ac efe a ysgrifenodd y pryd hyn yr olaf o'i draethodau, sef '*History of Cora, Dathan, Abiram,*' mewn 16 o bennodau, a'r hwn a daenwyd mewn llawysgrifau ym mhlith y frawdoliaeth; a dechreuwyd ei argraffu, ond gadawyd ef yn anorphenol, pan gymmerwyd yr awdwr yn garcharor: ond cyhoeddwyd ef gan un o'i gyfeillion, yr hwn a ddywed yn y rhagddalen iddo gael ei ysgrifenu gan '*John Penry, Merthyr Iesu Grist;*' ac yn yr 'Epistol at y Darllenydd,' ei fod yn ddyn duwiol, dysgedig, selog, ac o ymarweddiad a thymmer Gristionogol—iddo drwy ofal duwiol a llafur, ymdrechu cael yr Efengyl wedi ei phregethu a'i phlanu ym mhlith ei gydwladwyr tlodion, sefyllfa y rhai yr oedd yn mawr resynu wrthi, ac yn teimlo trostynt am fod arnynt eisieu moddion iachawdwriaeth yn eu plith. Wedi hyn, gan fod Duw yn ei ddefnyddio fel offeryn ym mhellach er mwy eglurhâd o'r gwirionedd, efe a driniwyd yn galed, a garcharwyd, a gondemniwyd, ac a ddienyddiwyd; ac felly dyoddefodd ferthyrdod er mwyn enw Crist.* Cymmerwyd y rhan fwyaf o aelodau y gymdeithas yn Southwarc i garchar, a dienyddiwyd dau, sef Barrowe a Greenwood, ar y 6ed dydd o Fai, 1593.

Nid oedd bosibl cadw Penry rhag yr un farwolaeth. Yr oedd un John Edwards—Cymro ef allai—wedi dyfod gydag ef o Scotland, a rhoddodd hwnw hysbysiaeth i ustus o'r enw Young, ei fod wedi gadael Penry a'i wraig yn nhy un Nicolas Lee; a rhoddwyd enwau lleoedd ereill lle y galwodd ac y llettyodd Penry a'i wraig ar eu pererindodau; a thrwy gynnorthwy ficer Stepney, efe a ddaliwyd yn Ratcliff, yr 22fed o Fawrth, 1592-3, a'r dydd nesaf dygwyd ef ger bron yr Ustus Young, ac anfonwyd ef i garchar ar y 26fed. Galwyd ato amrai o dduwinyddion i ymgynghori ag ef, i ymddadleu, ac i hela rhywbeth o'i ben a allesid ei wneyd yn uchel-fradwriaeth. Yr oedd ei ffyddlawn wraig wedi gwybod bwriad ei elynion o'i flaen ef, ac wedi anfon erfyniad at y Llywodraeth yn ei henw ei hun o'i blaid. Ysgrifenodd yntau lythyr maith ati hithau yn llawn o deimladau Cristionogol, ac yn deisyf ei gofio yn garedigol at ei gyfeillion yn Scotland a Chymru, ac y mae yn enwi un Jenkin Jones (ac un Dafydd), yr hwn oedd yn gwybod yn dda am ei holl guddfëydd. Ysgrifenodd hefyd lythyr at ei blant bychain. Holwyd ef yn faith ar ei brawf, gan un Ffenshaw; ac wedi ei holi, anfonwyd ef yn ol i'w gell yn dra blinedig, heb gael penderfyniad ar ei achos, o'r lle yr anfonodd lythyr caredigol at ei gyfeillion yn Llundain, wedi ei amseru Awst 24ydd, 1593. Yr oedd y bobl erbyn hyn yn dechreu cynhyrfu, fel na wyddai yr eglwyswyr pa fodd i wneyd, gan yr ofnent y terfysglu; ac felly, er eu bod wedi claddu y merthyron ereill mor ddirgelaidd ag ydoedd bosibl, ac yn penderfynu y mynent ddienyddio Penry, ni chyhoeddasant eu penderfyniad, trwy gyhoeddi y ddedfryd, ac hefyd nid oeddynt yn gallu gwneyd achos eglur yn ei erbyn: ac yr oedd Penry ei hun wedi ysgrifenu papyr

* Wood's *Athen. Oxon.* vol. i. p. 228.

mewn dull cyfreithiol, er dangos nad oedd ef yn droseddwr o unrhyw gyfraith ag oedd mewn bod. Er y cwbl, traddodwyd ei achos i frawdlys Westminster, a dadleuwyd o bob tu ger bron yr Arglwydd Brif Farnwr, a'r barnwyr ereill, ar yr 21fed o Fai, 1593; a chafwyd cwyn cywir yn erbyn Penry, trwy fawr drafferth. Y dydd nesaf symmudwyd ef i'r *Queen's Bench*, Southwarc, o'r lle yr anfonodd erfyniad at yr Arglwydd Drysorydd Burleigh, yn tystio ei ddiniweidrwydd, ond y cwbl yn ofer; canys ar y 25med o Fai, cyhoeddwyd barn marwolaeth arno; ond buwyd bedwar diwrnod heb arwyddo y warant, yr hyn a dwyllodd y bobl i feddwl na chyflawnid y ddedfryd. Anfonwyd y warant yn ebrwydd i'r sirydd, yr hwn a orchymmynodd wneyd y crogbren y diwrnod hwnw yn St. Thomas-a-Watering. Pan oedd Penry yn bwyta ei giniaw, dyma y swyddogion i mewn i beri iddo barotoi, am y byddai raid iddo farw am bedwar ar gloch y diwrnod hwnw. Arweiniwyd ef am bump o'i garchar yn yr Heol Fawr, Southwarc, i le y dienyddiad, heb fod nemawr yn gwybod, ac ar yr awr annysgwyliadwy hòno, fod dim o'r fath beth ar waith, rhag iddo ddechreu llefaru wrth y bobl, a chyfodi cynhwrf. A nacawyd iddo ddywedyd gair oddi ar yr esgynglwyd. Cymmerwyd ei fywyd, a gwasgarodd y bobl, ac ni wyddys pa le y claddwyd ef.* Tystiolaetha ysgrifenydd eglwysig diweddar, ac un nodedig o ammhleidiol, iddo gael ei ddienyddio, wedi cael ei drin yn greulawn a dideimlad, ar y 25med o Fai, 1593, yn 34 oed. Dywed hefyd fod ei ddienyddiad yn hollol anghyfiawn. Iddo gael ei farnu yn euog trwy dreisio y gyfraith.† 'Rhaid i ni beidio ag edrych heibio,' meddai Maskell, 'na chafwyd dim prawf, ac hefyd fod Penry ei hun, ar y pryd (i'r hyn nis gallaf roddi nemawr bwys), a phob amser wedyn, hyd yn nod pan yn myned i farw—pan y mae un yn dueddol i gredu y llefarai y gwir—yn gwadu fod ganddo ef ddim i'w wneyd ag ysgrifenu y papyrau hyn.'‡

4. 'Psalmau Dafydd. 1588.' 4plyg.§

## 1589.

'The Appelation of John Penri unto the High Court of Parliament, from the vile and injurious dealing of the Archbishop of

* *John Penry, the Pilgrim Martyr*, 1559-1593, by John Waddington.

† Enwogion Cymru. *A Biographical Dictionary of Eminent Welshmen*, by the Rev. Robert Williams, M.A.; at yr hwn waith rhagorol y cyfeirir yn fynych yn y gwaith hwn, er nad yn llawn bob amser.

‡ Maskell's *History of the Martin Mar-Prelate Controversy*, pp. 197-9. [Canfyddir fod yr awdwr wedi rhoddi gofod pur helaeth i *Penry*, er nad yw y rhan fwyaf o'i ysgrifeniadau yn dal ond ychydig o berthynas â llenoriaeth Cymru. Perthyn Penry yn fwy i hanes Anghydffurfiaeth neu Ymneillduaeth nag i hanes llenoriaeth, yn enwedig llenoriaeth Gymreig; gan nad ymddengys iddo ysgrifenu cymmaint a llinell erioed yn yr iaith hòno.]

§ Y mae Johnson yn ei nodi fel yna ym mhlith y llyfrau a argraffwyd gan y Barkeriaid, er na welais y cyfryw, na chrybwylliad o berthynas iddo, heb law yr eiddo ef.—*Typographia*, vol. i. p. 591. [Pur debyg mai amryfusedd Johnson yw y cofnod.]

Canterbury, and others, his colleagues in the High Commission, wherein the complaintant, submitting himself and his cause unto the determination of this honourable assembly, craveth nothing else, but either release from trouble and persecution, or just trial. Anno Dom. 1589.'

## 1590.

'Britannia, sive Florentissimorum Regnorum, Angliæ, Scotiæ, Hiberniæ, et Insularum adiacentum chorographica descriptio. Authore Gvilielmo Camdeno.' Londini, 1590.

[Hwn oedd y trydydd argraffiad o Camden's '*Britannia.*']

## 1592.

'Cambrobrytannicæ Cymraecæve Lingvae Institvtiones et Rvdimenta accuratè, & (quantùm fieri potuit) succinctè & compendiosè conscripta à Joanne Dauide Rhæso Monensi Lanuaethlæo Cambrobrytanno, Medico Senensi: Ad Jllust. virum Edouardum Stradlingum Equestris ordinis Cambrobrytannum: Ad intelligend. Biblia Sacra nuper in Cambrobrytannicum sermonem & castè & eleganter versa, non minùs necessaria quàm vtilia: Cum exacta carmina Cymraeca condendi Ratione, & Cambrobrytannicorum Poematum generibus, alijsquè rebus nonnullis eôdem spectantibus, ijsdémque pariter non minùs necessarijs quàm vtilibus.

Londini Excudebat Thomas Orwinus. 1592.' 4to.*

* Yn Gymraeg yn debyg i hyn :—'Gosodiadau ac Egwyddorion y Gymreigiaith Brydeinaidd, wedi eu gosod allan yn ofalus, ac, hyd y gellid, yn ddichlynaidd a chryno, yng nghyd â rheolau cywir fydryddiaeth Gymreig,' &c.

† [Nid *unplyg* mo hono, ond *pedwarplyg* lled fawr ydyw ; a chynnwys 304 o dudalenau, heb law dalen yr enw, y Cyflwyniad i Syr Edward Stradling, Llinellau Lladin o glod i'r Awdwr o waith *Guil. Camdenus* a *Ioan. Stradlingus*, Rhagymadrodd *Humffrey Prichard*, Anerch yr Awdwr 'at y Cymry ;' a Chyweiriad Gwallau ; y rhai oll a lenwant 24 tudalen ;—y cyfan yn gwneuthur 328 o dudalenau. Nid yr awdwr yw yr unig un sydd yn dywedyd mai llyfr *unplyg* yw y Gramadeg hwn. Mynegir hyny gan y Dr. Owain Puw, yn y ei *Cambrian Quarterly Magazine*, ii. 226 ; gan y Parch. Robert Williams, yn *Eminent Welshmen*, d.g. 'John David *Rhys*;' a chan ysgrifenydd yn y *Cambrian Journal*, iii. 55, 57. Ond y mae cyfargraff cwbl gyflawn o'r gwaith yn awr o'm blaen, a *phedwarplyg* ydyw, fel y mae yn ddigon hawdd i bawb weled, ond sylwi ar y nod-lythyrenau ar odre y dail. Y mae y cyfargraff y cyfeirir ato wedi ei gydrwymo â *Geiriadur* y Dr. Davies, yr hwn hefyd sy bedwarplyg, er dywedyd o Foesen Williams, ac ereill ar ei ol, mai unplyg ydyw.]

Llyfr unplyg† ydyw, yn cynnwys tri chant a dwy o dudalenau, heb law tuag ugain tudalen o Ragymadrodd. Y mae epistol Lladinaeg yn ei ddechreu, o gyflwyniad i'w gefnogwr—'Illvstri Viro, Ervditione et Prvdentia Praestantis, eximióque literarum et literatorum Patrono, Edouärdo Stradlingo Cambrobrytanno, Equiti aurato.' Yn canlyn y 'Llythyr Cyflwyn,' y mae Englynion Lladin o ganmoliaeth i'r gwaith a'r awdwr—y cyntaf gan Camden. Yna y mae Rhagymadrodd Lladin, gan '*Hvmfredvs Prichardvs Venedotvs Bangoriensis.*' Canlynir hyna gan gyfarchiad yn Gymraeg—'At Bendebhigion, a' Bonhedhigion, a' Phrydydhion, a' Chymreigydhion, ac at eraïlh o m' Annwylieid o Genedl Gymry, ac erailh amgen no'r hain, Annerch a' Lhwydhiant.' Y mae y llythyr anerch hwn yn gryn faith, yn cynnwys dros saith [wyth] tudalen unplyg [pedwarplyg] mewn argraff fân, ac mewn llythyrenau Italaidd; a'r hwn, oni buasai ei feithder, a fuasem yn ei ddodi oll ger bron y darllenwyr; ond rhaid ymattal, gyda rhoddi y ddosran derfynol yn unig:—

'A' mwyabh parth o'r Llybhr yma a bhybhyriwyd ac a bhedhyliwyd yn gyntabh, ynn Nhy y Pendêbhic M. Morgan Merêdydh o ymyl y Bugeildy ynn Nyphryn Tabhîda o bhywn Swydh Bhaesybhed: ynn y lhe lawer gwaith y bû bhawr bhy ghhroeso, a'm' hansawdh o bhwyt a' lhynn gann y gwrda a''r 'wreicdha. Eithr diwedhbarth y Lhybhr hynn, a bhybhyriwyd dann berthi a' dail gleision mywn gronyn o Bhangre i mî bhyhûnan a 'elwir y Clûn Hîr, ym mláen Cwmm y Lhwch, a' thann 'Odreuon Mynydh Bannwchdêni. Rhai a 'eilw y Mynydh hynn [Bann Arthur,] erailh [Móel Arthur.] Dann grîb y Bhóel honn, ac ynn ei harphet, y mae Lhynn digon 'i bheint, ac yn abhrîbhed ei dhybhnder, ac yn rhybhedh ei ansawdh; o ethryb [mal y cerdhant chwedleu] ny 'welspwyt eirióet edêryn o'r byd ynn cyrchu nac idho, nac atto, nac ynn nobhiaw arno; onyd yn holholh ynn ymwrthod ac êbho: a' rhai a dhywêdant, na's gnotáynt nag anibheilieid na milod o vnrhyw, ybhed dhim dwbhr o hono. A' lhawer o enrhybhedôdeu erailh, (ac o rann canbhod arr brydieu betheu dieithr dros benn yn ghhylch y Lhwch yma) a ydys ynn eu hadrodh gann gyphrêdin y 'Wlâd honno; ac yn enwêdic gann y sawl a arbhêrynt o ymgyrchu i'r Moelydh a'r Banneu hynny er mwyn bugeila. A'r Lhynn neu'r Lhwch hynn, a 'elwir Lhynn Cwmm y Lhwch. Eithr ymchwêlwn bellach i adrodh ichwi taw ym mha le bynnac y dechreuwyd, nac y cenôlwyd, nac y diwêdhwyd y Lhybhr yma; nag ym mha bhann bynnac y mybhyriwyd vn dim arno, i chwî, ac er eych mwyn chwî y gwnaethpwyt hynn olh. Ac o'r ethryb hynny, odd oes dim yndho a bhô tebyc i 'wneuthur dim lhês nag i'r Iaith, nag i chwitheu y Pendebhigion a' Bonhedigion Gwlâd Gymry, y mae yn dhâ iawn gann bhy ghhallon: onyd êbh, gydâwer heibio mal diphrwythbeth, a dechymyger ryw bêth aralh a bhô gwelh nog ebh, a' charer bhi (o's mynner) am bhy ewylhys da, er imi o dhamchwain bhôd (a' hynny o eisieu galhu) yn dhyphygiol (scatbhydh) o barth perpheithio bhy ghorchwyl. A' hynn a dhywêdabh wrthych' cynn ymâdo o honobh' â chwî, na 'wnaethpwyt

ermóed dhim ynn y byd yma yn gyn gystadled, nac yn gyn berpheithied, na'ʻs galhei ryw dhyn cynbhigennus, a' drwc ei ewylhys, o'ʻi dhrwc dabhawt, gymryt arno anurdho y pêth da hynny â'ʻi 'eirieu dûon marwâraidh, o damwheiniei idho arr adêgeu ymgybharbhod ac vndyn aralh annealhus a bhwriei ei góel arno, ac a gredei i'ʻr pêth a dhywettei. Weithion rhac tra gormodh blino arnoch', yma y cymhêrabh bhy ghennad ganwch', gann dheisybh ynn bhy ghwedhi rhât y Tâd, a''r Mâb, a''r Yspryt Glân i'ch plîth olh yn 'wastad. *Amen.*

'O'ʻr Clûn Hîr y chweched dydh o bhîs Tachwedh, oedran eyn Harglwydh Iesu Grîst, mîl a' phymcant a' deudhec a' phedwar vgeint.

'Yr eidhoch' olh, ac yn holh yr eidhoch', I. D. R.'

Yn niwedd yr '*Epistola Dedicatoria*' y mae—'*Brychanij prid. Non. Iulias.* 1590. *Ex animo tui amantissimus & obseruantissimus,* Ioannes Dauides Rhæsus;' ac yn gyssylltedig ag enw y llyfr ar y ddalen gyntaf o gorff y gwaith, y mae enw yr awdwr drachefn [yn y cyflwr annibynol]—'*Ioanne Dauide Rhæso Cambrobrytanno Authore.*' Gwelir mai y peth hynotaf yn y llyfr hwn yw ei ddull yn llythyrenu yr iaith Gymraeg. Yn lle llythyrenau dyblyg, y mae yn chwanegu *h* at y wreiddiol, megys *lh* am *ll; dh* am *dd; bh* am *f; gh* am *ng;* ac fel yr holl hen lyfrau, yn cyfnewid *v* am *u*, ac *u* am *v*.* Heb law hyny, y mae ganddo ddwy lythyren nad oes eu bath mewn argraff yn awr. Nid ellir eu dangos, am nad oes un gan yr argraffyddion, heb fyned i'r draul o fathu rhai yn bwrpasol. Y llythyrenau hyn ydyw *w* ac *y*. Y mae yr *w* rywbeth yn debyg i'r rhifnod 8, â'i ben uchaf yn agored (8), ac y mae un ochr yn troi yn fachog ar y llaw aswy, yn debyg i ddwy *Sigma* Groeg, yn groes i'w gilydd; neu yn hytrach ar lun y nod am *ac felly ym mlaen* bychan (&) â'i faglau i fyny (ꝡ).† Y mae yr *y* yn tolcio ar led yn ei dwy fraich, yn debyg i freichiau dyn yn uwch na'i ben, neu yn hytrach heb ei ben, a'r goes hefyd yn rhoi dau gam tolciog, yn debyg i goes rhedynen, neu y *Gamma* Groeg (Y). Nid hon yw yr unig *y* chwaith, canys y mae ganddo *y* gyffredin, ac mae y hòno mor fynych a'r llall, ond yn meddu ei lle ei hun. Y mae yr *y* gamog ym

* [Nid arferir *v* ganddo mewn un modd ym mhlith llythyrenau yr Egwyddor Gymraeg;ond yn y Lladin defnyddir *v* yn lle *u*, ac *u* yn lle *v*, *i* yn lle *j*, a *j* yn lle *i*, agos yn ddiwahaniaeth, yn ol dull cyffredin yr oes hòno : a cheir *v* weithiau yn lle *u* mewn geiriau Cymraeg. Egwyddor Gymraeg y Dr. Rhys yw y ganlynol :—*a, b, bh, c, ch, d, dh, e, g, gh, ghh, h, i, lh, l, m, mh, n, nh, o, p, ph, rh, r, s, t, th, u, w, y* (o ddau fath)=31. Arferir y ddeufath hyn o *y* hefyd yng *Ngramadeg* y Dr. Davies (1621) ; a chedwir yr un nodwedd yn yr ail argraffiad o hono a ymddangosodd yn Rhydychain yn 1809.]

† [Ceir y dull hwn ar y llythyren *w*, neu un cyffelyb iddo, yn gyffredin iawn mewn hen lawysgrifau Cymreig, megys y *Llyfr Coch o Hergest*, a.r.c.]

mhob lle y mae yr *y* gyffredin yn cadw ei sain heb leddfiad, megys yn b*y*chan; ond yr *y* gyffredin ym mhob gair lle y lleddfir ei sain i *u*, megys b*y*s. Y mae ganddo hefyd ddau dolnod, os bydd y gair yn ddiffygiol o ddwy lythyren, neu yn ddau air; a'r nodau yn troi eu penau yn groesion, er dangos yn gydiol â pha lythyren y dylasai y llythyren goll fod, pe cadwesid gwreiddioldeb y gair; megys *a'* *'r* am *ac yr*, neu *o'* *'r* am *oc yr*.

Y mae yn briodol rhoddi hefyd ychydig esiamplau o hono. Rhaid dewis rhai byrion. O dan y pen '*De Figura. Dulh,*' ceir ei ddull yntau fel hyn:

| | | | |
|---|---|---|---|
| Figura verborum alia | Simplex:<br>*Odidawc:*<br>Composita:<br>*Cybhansodhedic:* | vt | *lhâdh, lhosgy, bôd, rhedeg,*<br>*rhodio, gwnâbh, &c. cybhladh,*<br>*gwrthladh, atbheiliaw, dam-*<br>*gylchynu, perpheithwnabh, &c.* |

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| Componuntur verba aut cum | Articulis: vt | *Ystudiaw,*<br>*Ystabhelhu,*<br>*Yssydh,* | ex articulo *y*, & *ys* & | *studiaw*<br>*stabhelh*<br>*sydh* | verbis. |
| | Nominibus: vt | *drygladh,*<br>*cammdybiaw,*<br>*gwrladh,*<br>*treisdaraw,*<br>*cigwerthu,*<br>*gwalhgobhiaw* | cum | *drwg.*<br>*camm.*<br>*gwr.*<br>*trais.*<br>*cig.*<br>*gwalh.* | |
| | Aduerbijs: vt | *godâlw,*<br>*digerydhu,*<br>*abhlonydhu,*<br>*braidhgobhi,*<br>*datcânu,* | cum | *go.*<br>*di.*<br>*abh.*<br>*braidh.*<br>*dat* quasi *diat.* | |
| | Præpositionibus: vt | *amdôi,*<br>*damgylchynu,*<br>*cyngydiaw,*<br>*trawsneidiaw,*<br>*trachobhiaw,*<br>*ateb&gwrtheb,*<br>*atbheiliaw,*<br>*cysseiniaw,*<br>*ymddâraw,* | cum | *am.*<br>*dam.*<br>*cyn.*<br>*traws.*<br>*tra.*<br>*at, gwrth.*<br>*at.*<br>*cys.*<br>*ymm* pro *ynn.** | |

Fel hyn y mae yr holl lyfr, yn llawn o gromfachau, ymsangau, a chyssylltiadau, pa le bynag y mae yr awdwr yn dosbarthu ei esiamplau gramadegol. Yn Lladin y mae yr addysg gan mwyaf, a'r esiamplau neu y gwersi yn Gymraeg: ond y mae weithiau yn chwanegu cyfieithiad o'r addysg neu ei gyfarwyddiadau, yn Gymraeg; megys ei '*Methodus cognoscendi syllabas numero syllabarum dubias,*' pryd yr ychwanega yr un peth yn Gymraeg, fel hyn:—

'Modhion i adnabod, bêth yw sylhabh betrus ai vn sylhabh, ai ynteu mwy.

* Tudalen 83.

'1. Y môdh cyntabh yw, sebh: Pann liossoccer gair ag [*y*] bhydharsain yndhô, herwydh rhîbh ei sylhâbheu, ag nyd herwydh synwyr y gair o rann vnig a lhiossog: edrycher ar y lhiossog o sylhâbheu; ag yna wrth bhall y bo ynn y gair lhiossog o sylhâbheu, bhelhy y bydh yn herwydh ei bhôdh ynn yr vnig a' 'r odidog o sylhâbheu, cyn ei liossôgi. Canys ony wydhys bêth yw [*Bagl*] ai vn sylhabh ai dwy, na pha bhodh yr scribhenner ynn y mydr: lhiossoccer [*Bagl*] herwydh rhîbh sylhâbheu, a dywetter [*Bagleu,*] ag yna dwysylhâbhog a bhydh [*Bagleu.*] Ag am hynny vnsylhâbhog oedh [*Bagl*] mywn cerdh dabhod a mytr. A phann liossoccer bhelhy, yna y tawdh yr [*y*] rhwgh y lythyren bhûd a' 'r lhythyren dawdh, am bhod [*y*] a sain bhydhar neu sain dywylh arnei. Ag o'r achos hynny, ny scribhennir dhim o honei mywn cerdh dabhod, nag ynn yr vnig, nag ynn y lhiossog, onyd mall hynn: [*Bagl, bagleu.*] Eithr mywn rhydhiaith bhall hynn ydh arbhêrynt o scribhennu, [*Bagyl* a *bagyleu;*] yr vn yn dheusylhâbhog, a''r lhalh yn drisylhâbhog. Ac ynn yr vn môdh, dwysylhâboc yw [*Bwgwl*] ynn yr vnic; ag am hynny trisylhâbhoc a bhydh [*Bygyleu*] ynn y lhiossoc. Canys sylhabh rhagor a dhyly bôd ynn y lhiossoc, nog ynn yr vnic; na rhannêdig na chybhansodhêdig bhô y gair. Rhannêdig, megys y clywsoch' vchod; a' chybhansodhêdig: megys [*Eurlhiw* ac *eurlhiwieu.*] Ag ynn yr vn wêdh y bernir am y cyphêlyb.'

'Nôt.

'O's herwydh synwyr y gair yn vnig, y lhiossoccer y gair; ynn lhawer lhe ny bydh mwy o sylhâbheu ynn y lhiossog, nog yr vnic neu 'r odidog, megis ynn yr hain: sebh, [*Clerwr, clerwyr. March, meirch*] &c.

'A chytboent rhai o'r geirieu a synwyr lhiossog yndhynt ynn yr vnig neu 'r odidog: etto rhaid yw bôd y lhiossog yn bhwy o sylhâbheu no'r odidog. Canys ny elhir [*clêr*] onyd o lawer, na [*choed*] o vnprenn; eissoes lhiossoccer y geirieu mall hyn: [*Cleroedh, coedydh,*] y lhiossoc hynny yssydh yn bhwy o rîbh sylhâbheu no'r vnig, er bôd synwyr y lhiossoc a' 'r odidoc ynn myned mywn rhyw bhôdh yn vnparth.

'2. Yr ail pêth i adnabod sylhabh betrus, yw cybhansodhiad y gair. Canys wrth bhall y bo ynn y gair cybhansodhêdic, bhelhy y bydh ynn y rhannêdic, nag odidog na lhiossog bhô y gair. Ag am hynny o's dausylhâbhoc yw [*Lheidrdhyn,*] vnsylhâbhoc oedh [*lheidr*] &c.

'3. Y trydydh pêth i adnabod petrusder sylhabh, yw Ardhisgynniad y gair. Canys wrth bhall y bo ynn y gair ardhisgynnêdig, bhelhy y bydh ynn y gair cyssebhin. Ac am hynny, o's pedwarsylhâbhoc yw [*Dynioneu*] trisylhâbhoc yw [*dynion.*] Ac o's dwysylhâbhoc yw [*Lleidraidh,*] vnsylhâbhoc yw [*lheidr.*] Ag bhelhy y bernir am [*Aur* ac *euraidh*] a''r cyphêlyb.'*

* Tudalen 135.

Yr ydys yn ofni mai prin y medr y darllenwyr wneyd rheswm o'r esiamplau hyn, gan mor estronol eu hymddangosiad, er eu bod yn Gymraeg lân loew, yng ngwisg yr ieithydd hynafol hwn; gan hyny, rhoir ychydig linellau yn yr hen ddull hwn, ac yn y dull cyffredin, bob yn ail linell:—

'Hyd neu gyhydedh y sylhâbheu, a bhydh herwydh messur o
'*Hyd neu gyhydedd y sillafau, a fydd herwydd mesur o*

lythyr ag amsêroedd gosodiâdeu a bhô yndhynt. A' lhiaws amser
*lythyr ac amseroedd gosodiadau a fo ynddynt. A lluaws amser*

a bhydh i sylhabh hîr, ac vn i sylhabh bherr. Canys hwy o amser
*a fydd i sillaf hir, ac un i sillaf fer. Canys hwy o amser*

y bydhir ynn dywedud sylhabh hîr, nog yn adrodh vn bherr. Hîr
*y byddir yn dywedyd sillaf hir, nag yn adrodd un fer. Hir*

yw pôb lhedhybh, a' byrr pôb talgrwnn: ag etto hwy yw diphthogh
*yw pob lleddf, a byr pob talgrwn: ac eto hwy yw diphthong*

dalgronn, no sylhabh aralh dalgronn. A' rhai o'r sylhâbheu
*dalgron, na sillaf arall dalgron. A rhai o'r sillafau*

lhedhbhon, a bhydhant hwy no rhyw ledhbhon erailh, o herwydh
*lleddfon, a fyddant hwy na rhyw leddfon ereill, o herwydd*

messur o lythyr ag amsêroedh a bhônt yndhynt.'*
*mesur o lythyr ac amseroedd a fônt ynddynt.*

Y mae rhan fawr o'r llyfr hynod hwn, '*De Poemate metrico*,' h.y. am Fesurau Cerdd; lle y rhoddir llawer o esiamplau o hen englynion, cywyddau, ac awdlau, wedi eu gosod yn yr un dull cyplysog, taflenog, ymsangog, a chromfachog, ag yw y gwersi mewn rhyddiaith. Rhoddir yma un esiampl; ond nis gellir ei gosod yn eglur a chyflawn, o ddiffyg cromfachau taflenog priodol:—

'Awdl gywydh a bhessûrir o bedair sylhabh arr dhêg, saith ym mhôb Bann o'r dhau Bhann; a' 'r Gair cyrch ynn nechrau yr ail Bann, ynn atteb i'r Awdl gyntabh; a''r Awdl dhiwêthabh yn ymrabhael; a' honno yn vnawdl drwy y Cowydh, bhall hynn:—

'*Exemplum Recentiorum.*

*Carmen.* { Vn a dâl y nydôlig, obr didhig i Brydydhion;
Ag a bryn dhêg o baei raid, lhonghaid bhal y golhynghon.

*Scribitur & ita.*

Vn a dâl y nydôlig,
Obr didhig i Brydydhion;
Ag a bryn dhêg o bei raid,
Lhonghaid bhal y golhynghon.

* Tudalen 144.

*Atque etiam hoc modo.*

Vn a dâl y nydôlig,
  Obr didhig,
    I Brydydhion :
Ag a bryn dhêg o bei raid
  Lhonghaid
    Bhal y golhynghon.

*Scansio.*
Vn-a. dâl-y. ny-do. lig,
Obr-di. dhig-i. bry-dy. dhion.
Ag-a. bryn-dhêg. o-baei. raid.
Lhon-ghaid. bhal-y. go-lhyn. ghon.*

Y mae y Gramadeg hwn yn diweddu gydag attodiad maith, yn cynnwys llawer o ddarnau barddonol helaeth; megys, 'Owdl Bhair a gânt Gwilim Têw, i dhyscu lhawer o'r hen Bhessûrau gorchestawl, ac nyd ydynt y'w cael ond ynti hî am Bhardhoniaeth; ond am Dhewiniaeth, gochêlwch' y surdoes, medh William Midelton ;'† 'Owdl a gânt Lewys Morrgannwg wrth Leision Abad Glynn Nêdh, a''r pedwar mesur arr hugein yndhi, arr dhulh yr oes honno,' &c. ;‡ a'r oll yn y ffurf uchod o lythyrenu a sillebu.

Am y Dr. Sion Dafydd Rhys hwn—dywedir i Jane, merch Thomas Stradling, Ysw., o Gastell St. Donat's neu Dunwyd,§ yn sir Forganwg, briodi â Syr William Griffith, o sir Gaernarfon, yng Ngwynedd; ac yn Eglwys St. Donat's y priodwyd hwynt. Ar eu dychweliad i Wynedd, cymmerodd Syr William gydag ef un Dafydd Rhys, i fod yn arddwr iddo; a chymmerodd ei wraig Jane hefyd ei morwyn gyda hithau. Yr oedd y Dafydd Rhys hwn yn frawd i Risiart ab Rhys, y bardd, o Ferthyr Mawr, ger Pen y Bont ar Ogwy, yr hwn oedd athraw Iorwerth Fynglwyd, y bardd, o Graig yr Eos, ym mhlwyf Sant y Brid, ac un o feirdd teuluaidd Castell St. Donat's. Darfu i'r Dafydd Rhys hwn a gwasanaethyddes Syr William Griffith ymbriodi. Ei henw hi oedd Annes neu Agnes. Cawsant fab, yr hwn a alwasant John neu Sion, a dilyn enw ei dad, Sion Dafydd Rhys.|| Bu farw ei dad, Dafydd Rhys; ac yn fuan wedyn, bu farw Syr William Griffith, a'i foneddiges; a bu gorfod i Agnes a'i mab bychan ddychwelyd i St. Donat's, gan gerdded yr holl ffordd o sir Fon i sir Forganwg; canys yr oedd hi a'i gwr wedi cael tir tuag at eu cynnaliaeth yn Llanfaethlu, yn sir Fon. Yr oedd cangen, ac y mae eto, o'r Griffithiaid yn byw yn y plwyf hwnw, a dichon mai yno, yn y lle a elwir y Gareg Lwyd, yr ymsefydlasai Syr William pan ymbriododd. Bu

* [Tudalen 192-3.]

† [Tudalen 235.]

‡ [Tudalen 239.]

§ [Sant Dunwyd, neu Sandunwyd.]

|| [Ganwyd ef yn y flwyddyn 1534.]

gorfod i Dafydd Rhys droi allan o'r lle ar farwolaeth Syr William Griffith.* Pan oedd gweddw Dafydd Rhys yn dychwelyd o Fon, yr oedd y bachgen, Sion Dafydd Rhys, yn rhy ieuanc i gerdded; o ganlyniad, bu gorfod i'w fam ei gario yn ei breichiau, ac ar ei chefn, y rhan fwyaf o'r ffordd. Erbyn iddi gyrhaeddyd St. Donat's, yr oedd yn glaf iawn, a bu farw o'r cystudd hwnw. Cymmerodd Syr Edward Stradling y bachgen bychan ato ef i'r Castell; a rhoddodd ef o dan ofal yr un athrawon â'i fab ei hun, Thomas. Daeth y ddau fachgen yn gyd-gyfeillion hoffus iawn o'u gilydd, ac yn anewyllysgar i ymwahanu, na bod oddi wrth eu gilydd. Wedi cael addysg deuluaidd yn y Castell, anfonwyd y ddau wr ieuanc i Brifysgol Sienna, yn yr Ital, lle y dygwyd hwynt i fyny yn dda, yn holl ddysgeidiaeth y lle a'r oes. Wedi eu dychweliad adref, priododd Syr Thomas; cafodd fab, yr hwn a alwyd Edward; a phenodwyd Sion Dafydd Rhys i fod yn athraw iddo, yn y Castell. Rhywbryd, fel yr oedd yr etifedd ieuanc yn rhodio ar hyd traeth y môr sy'n terfynu ar y Castell, efe yn ddifeddwl, a arosodd ar le oedd yn uwch na lle arall, hyd nes oedd y llanw wedi ei amgylchynu yn rhy ddwfn i gerdded trwyddo. Efe a waeddodd am gynnorthwy, a chlywyd ei lef o'r Castell. Aeth dynion ar geffylau yn ebrwydd i geisio ei waredu; ond ni ellid llwyddo i gael yr un ceffyl i gymmeryd y dwfr, yn erbyn y tònau ewynog. Ar hyn taflodd Sion Dafydd Rhys ei ddillad uchaf oddi am dano, ac aeth yn hyf i'r dwfr, yn erbyn yr holl dònau, a dygodd yr etifedd ieuanc i dir yn ddiangol. Os oedd ei barch yn y ty yn fawr gynt, yr oedd yn filwaith mwy bellach. Pan ddaeth yr amser priodol, anfonwyd y boneddwr i'r un brifysgol ag y buasai ei dad ynddi o'r blaen, yn yr Ital, a Sion Dafydd Rhys gydag ef, i fod yn brif athraw iddo. Arosasant yno rai blynyddau; a daeth S. D. Rhys yn glodfawr am ei helaeth wybodaeth, a chafodd ei raddio yn D.M. (Doctor Meddyginiaeth). Ym mhen amser efe a ddychwelodd i Gymru, yn Babydd o ran dygiad i fyny, ac yn fynach; ac o blegid bod yr holl fynachlogydd wedi eu diddymu, efe, fel y gwelwyd, a brynodd etifeddiaeth fechan mewn lle a elwir y Clyn Hir, neu Glyn Hir, ar derfyn Cwm Llwch, wrth droed mynydd Ban uwch Deni, neu Banau Brycheiniog.† Am y rheswm iddo ddewis sir Frycheiniog i anneddu ynddi, dywed ef ei hun fel hyn:—

'Ac er imi 'alhu o gybhiawnder, ìeu ac o bêth haedhiad arr bhy Ghwlâd, ardhelw y mann cyphrêdin a bhynnwn yndhi i drigiaw, a' mawr groeso i m' ynn y lle y delwn am dhybhod: eisoes mybhî (ac nyd amgen nog o ewylhys da parth ac at y 'Wlâd) a dhewisais bhy

* [Ychydig linellau o'r blaen awgrymwyd ddarfod i Dafydd Rhys farw *o flaen* Syr W. Griffith. Ac os oedd gweddw Dafydd Rhys yn feddiannol ar dir at ei chynnaliaeth yn Llanfaethlu, y mae yn hynod, braidd, iddi ddychwelyd i Forganwg ar farwolaeth ei gwr; er, mae yn wir, y gallasai hyny ddygwydd.]

† *Doom of Colyn Dolphin*, gan Taliesin ab Iolo, t. 91-95; lle y ceir achau teulu y Stradlingiaid o Gastell St. Donat's, ym Morganwg, allan o lythyr y Parch. Edward Gamage, o St. Athan, ym Morganwg, at Llewelyn ab Ifan, Tachwedd 23, 1726.

mhreswylbhod ynn Swydh Bhrycheinawc; a' hynny nyd yn vnic o achaws bhy môd bhyhûn yn Gymro; onyd hebhyd (o's bhi a gaphwybh bharnu) o ethryb bhy môd ynn tybieid yn fy ghhallon, nadd oedh vnwlad ynn Ghhymru o rann Pendebhigion, a' Bonhedhigion, a' Chyphrêdin, 'welh ei phobl, 'lanach eu cynhedhbheu, syberwach eu moeseu, na hawdhach cáel cymwynas dhâ ganthynt', ym mhôb môdh ac y ceisiyd na gleindid, na hawdhgârwch, na chymwynas, na syberwyd, na dim dâ aralh mywn vndyn; no phobl 'Wlad Bhrycheinioc.'*

Yn y lle hwnw y gorphenodd efrydu ei Ramadeg meistrolgar; ac yr oedd Syr Edward Stradling, bywyd yr hwn a achubasai, yn ei gynnorthwyo ag arian, ac angenrheidiau ereill; gan ddangos iddo gyda hyny barch diderfyn.† Yn ei hen ddyddiau, a hen iawn ydoedd, efe a symmudodd i dref Aberhonddu, lle y diweddodd ei ddyddiau, o ddeutu pedwar ugain mlwydd oed, yn amser y Brenin Iago I, yn 1617.‡ Dywed rhai iddo farw yn ddyn unig; ond dywed Theophilus Jones fod bedd ei wraig yn Aberhonddu, ag arno y cerfiad hwn:—'*Uxor Joh'is David.*' Dywed hefyd fod ei fab, Walter, yn Brotestant, ac yn Ficer Aberhonddu.§ Nid y Gramadeg hwn oedd ei unig waith. Cyfansoddodd, yn yr Italaeg, gynnulliad o 'Reolau i ddechreu dysgu y Lladinaeg,' yr hwn a gyhoeddwyd yn Venis. Ysgrifenodd hefyd Draethawd Lladin ar 'Lafaredigaeth yr Italaeg,'‖ yr hwn a argraffwyd yn Padua.** Ond ei orchestwaith yw y Gramadeg Cymraeg hwn yn Lladin.††

Am Humphrey Prichard, yr hwn a ysgrifenodd Ragarweiniad i'r Gramadeg, dywedir mai brodor o Fangor, yn sir Gaernarfon, ydoedd. Rhoddwyd iddo fywoliaeth Llanbeulan, Mon, dan yr enw 'Humphrey Prichard ab John,'‡‡ ar Awst 6ed, 1548, gan Arthur Bulkeley, Esgob Bangor. Pabydd ydoedd y pryd hyny; ond yn 1570, a'r 13edd o deyrnasiad Elisabeth, efe a ymddangosodd ger bron yr Esgob Robinson, ac a danysgrifiodd y 39 Erthyglau. Barnwyd wedyn nad oedd wedi ei urddo, a rhoddwyd arall yn ei le, ar ol hir ymgyfreithio yn llys Bangor; ac nid oes dim ychwaneg o'i hanes hyd ei gyssylltiad â'r Gramadeg hwn.§§ Haerir gan rai mai efe a olygodd yr argraffiad pan ydoedd yn dyfod trwy y wasg yn Llundain, ac iddo gymmeryd gryn hyfdra trwy roddi ei ragymad-

* 'At y Cymry,'

† Parry's *Cambrian Plutarch*, p. 309, &c.

‡ [Yn y fl. 1609, yn ol y *Cambrian Plutarch*, t. 313, a'r *Eminent Welshmen*, d.g.]

§ Jones's *History of Breconshire*, vol. ii. p. 51.

‖ ['De Italicæ Linguæ Pronuntiatione.'] ** *Gwladgarwr*, 1839, t. 161-63.

†† *Doom of Colyn Dolphin*, p. 95.

‡‡ ['Humphrey ap Richard ap John,' yn ol y gofres ar ddiwedd Rowlands's *Mona Antiqua*, t. 335. Canlynwyd ef ym mhersoniaeth Llanbeulan gan Hugh Edwards, A.C.; ond ni ddywedir, yn y gofres a nodwyd, pa un ai ar farwolaeth Prichard, ai ar ei ymddiswyddiad, y cafodd ef hi.]

§§ A. Llwyd's *History of Mona*, p. 360.

rodd ei hun i mewn, a chwanegu rhyw eiriau yn y rhagddalen, heb genad yr awdwr;* ond y mae llythyr ar gael, wedi ei ysgrifenu gan yr awdwr ei hun, ar ei ddyfodiad adref o Lundain, wedi bod yno yn golygu yr argraffu, lle y dywed ei fod wedi ei ddarllen, 'llen am len,' ei hunan. Ymddengys hefyd mai 1250 o lyfrau a argraffwyd o honynt, a'r cwbl ar draul Syr Edward Stradling, i'r hwn y mae yr awdwr yn rhoddi cyfrif llawn.† Yr oedd y llyfrau

* [Os Pabydd, fel y dywedir, oedd y Dr. Rhys, a bod Humffrey Prichard y pryd hwn yn Brotestant, nid yw annhebygol i ragymadrodd o waith Prichard gael ei osod o flaen y gwaith, er mwyn hyrwyddo ei gylchrediad ym mhlith Protestaniaid yn gystal a Phabyddion. Ond y mae yn ammhëus iawn ai Pabydd ydoed y Dr. Rhys pan y cyhoeddodd ei Ramadeg; ac ym mhlith pethau ereill a dueddant i ddangos mai Ardystiwr ydoedd, gellir nodi mai anhygoel yw y buasai Pabydd, ïe, Pabydd cymmedrol (ac nid cymmedrol mo Babyddion yr oes hòno yn gyffredin), yn dywedyd mewn perthynas i 'Awdl Fair' gan Gwilym Tew, 'am Ddewiniaeth, gochelwch y surdoes, medd Wiliam Midelton,' yr hwn, fel y gwyddys yn dda ddigon oedd yn Ardystiwr; ac nid oes dim yn yr awdl hòno a ystyrir yn 'surdoes' gan Babyddion.

Ni ddywedir ar ragddalen y gwaith mai amcan yr awdwr ydoedd hyrwyddo gwybodaeth o'r Ysgrythyrau ym mhlith *y bobl gyffredin* trwy gyfrwng y Gramadeg hwn: ond diau mai yr hyn a olygid ydoedd, cynnorthwyo y gweinidogion i ddeall yr iaith Gymraeg (canys yr oedd pregethu Cymraeg wedi myned i gryn raddau allan o arfer yng Nghymru cyn y Diwygiad), fel y byddai iddynt hwy hyfforddi y bobl mewn gwybodaeth o'r Ysgrythyrau, yr rhai, y pryd hwn, oedd newydd gael eu cyfieithu yn Gymraeg gan yr Esgob Morgan. Nid amcanai y Dr. Rhys, mwy na'r Dr. Davies ar ei ol, i'r cyffredin bobl fyfyrio ei Ieithadur cywrain ef, canys nis gallai llyfr Lladin fod yn ddealladwy iddynt; ond yr oedd yn ddealladwy i'r gwŷr eglwysig; ac o'i ddeall, dysgwylid iddynt gyrhaedd mwy o fedrusrwyd yn yr iaith, a thrwy hyny allu o honynt addysgu y bobl yn amgenach. Dysgu yr athrawon oedd bwriad y Dr. Rhys; a gadewid iddynt hwythau daenu gwybodaeth ym mhlith y werin, a hyny trwy gyfrwng yr iaith Gymraeg.]

† 'To the r. wor. Sr. Edwarde Stradlinge, Knighte.

'My duty remembered to your wor. You shall understande that I am come home; but noe sooner came but that Mr. Justice Walter, hearing that shortlie I was to departe from London, and leavinge one at Brecknock to solicit my hastie repayre to him to Ludlow: upon this occacion, and for that hee is the Justice of Assise in this circuyth, and to be kept in hand for manye purposes, I am going this daie to Ludlowe, havinge a farr greater desire (as God knoweth) to restore to my Mæcenas. But after my return from Ludlowe I will (throughe God's grace) be shortlie there. The cause of my longe tarynge in London was for the sure setlinge and placinge of the bookes, and *p*usinge every one of them, sheete by sheete, that noe im*p*fection might be founde in them: which sheets in xii hundreth and odd bookes growe to a greate number and a tedious *p*usall. Of these bookes the Queen Ma[tie] hadd one, my Lorde Tresorer* another, and my L: of Essex the thirde, for that these three hadd just cause to have consideracon of this exellent language. From the Queen I know not what aunswere was hadd, for that I came away before I spake with Mrs. Skudamore, whoe did deliver the booke; but at the cominge of Mr. Skudamore† to Home-Lasye I shall knowe. There is more worshipfull speeches concerning your selfe about the settinge foorthe of that booke then about any one thinge that ever you dyd in your life. And thus, with my humble dutye to yo[r] selfe and to your singular good ladye, and hartye comendacons to Mr. John Stradlinge, I beseeche God to blesse and save you all. Brecknocke, this xiith of Julye 1592.

Yo[r] wo[r] to comaunde during liffe,
JOHN DAVYS.'

* Lord Burleigh.

* Yr oedd John Skudamore, o Hom-Lacy, yn foneddig gwastrawd i'r Frenines Elisabeth, a gwnaed ef yn farchog, ac yr oedd yn un o'r aelodau dros sir Henffordd mewn pum eisteddiad seneddol gwahanol yn y teyrnasiad hwnw. Yr oedd y foneddiges Skudamore yn un o ffafriaid y frenines.

bwthyn ar dir Cwm Gwenyndy, ym mhlwyf Llanfynydd, ac yn cadw ysgol yng Nghapel Isaac, ger Llandeilo Fawr, yng nghyd â phregethu yn deithiol ym mhlith y Methodistiaid Calfinaidd. Bu farw tua r flwyddyn 1776.*

13. 'Y Pedwerydd Ran o Ganiadau Sion; Neu Hymnau ac Odlau Ysprydol. Gan John Thomas. At yr hyn y chwanegwyd, Can i Ieuengctyd, ar ddymuniad rhai Pobl Ivaingc, gan yr un Awdwr.

Bristol Argraphwyd gan E. Farley. 1764. Pris 4d.' 60 tudalen 12plyg.†

14. 'Y Perl Gwerthfawr; neu Bennau o Wybodaeth Iachus, i Bechadur am ffordd y Bywyd, &c. Wedi ei gyfieithu i'r Cymraeg, er lles i'r Cymru.

Argraphwyd yn y Mwythig gan Stafford Prys, Printiwr a Gwerthwr Llyfrau. M,DCC,LXIV. Pris 4d.' 44 tudalen 18plyg.

Y mae y rhagymadrodd wedi ei arwyddo gan 'David James, Edward Parry, Thomas Edwards—Henllan May 29, 1764.' Am y rhai a enwir uchod, gellir cofnodi am

(1.) David Jones, mai ysgolfeistr yr Ysgolion Symmudol o eiddo Mr. G. Jones, Llanddowror, yng nghymmydogaethau Dinbych tua'r fl. 1750, ydoedd.

(2.) Edward Parry ydoedd fab i wr mewn sefyllfa isel a drigfanai yn sir Ddinbych. Yr oedd yn ei ieuenctyd yn meddu peth tueddiad at farddoniaeth ysgafn, a choeg chwareu; yr hyn a wnaeth iddo ymgyssylltu â Thomas Edwards o'r Nant, ac ereill o'r un tueddiad. Tua'r fl. 1747, dwyseiddiwyd ei feddwl trwy bregethiad rhyw un o'r teithwyr Methodistaidd. Dechreuodd bregethu yn 1749. Yn yr ymraniad rhwng Mr. Howel Harris a'r Methodistiaid, efe a dueddodd gyda'r cyntaf, gan lyfrhau yn ei ysbryd defosiynol. Yn 1766, aeth i fyw i le a elwir Bryn, wrth yr hwn le y mae ei enw yn cael ei adwaen. Ail ymunodd â chorff y Methodistiaid, a pharhaodd yn llafurus hyd ei farwolaeth.‡

(3.) Thomas Edwards, a grybwyllwyd eisoes, ydoedd yr hwn a adwaenid wrth yr enwad *Twm o'r Nant*, ac a anwyd yn Llannefydd, ger Dinbych, yn 1738. Dangosodd yn ieuanc athrylith, yr hyn a wrteithiodd heb unrhyw fanteision. Cymmerodd hyfrydwch mewn cyfansoddi a dynwaredu caniadau coeg-chwareuol, a elwid *Interludes.* Bu flynyddoedd yn dilyn yr alwedigaeth o gludydd coed, &c. Byddai weithiau yn lled dda ei sefyllfa, a phryd arall yn eithaf isel. Cyfansoddai yn dda os mynai. Bu farw yn 1810, yn 72 oed.§

* *Yr Adolygydd*, 1851, t. 330; *Methodistiaeth Cymru*, cyf. ii. t. 428, 450.

† Gwel rhif 12, d.f. 1762.

‡ *Methodistiaeth Cymru*, cyf. i. t. 142-6.

§ *Y Greal*, 1805; *Gwladgarwr*, 1836; Williams's *Eminent Welshmen;* a *Hanes Twm o'r Nant*, gan Humphreys.

15. ¶ 'Myfyrdod-dau Duwiol i'n Cymhwyso erbyn Angau.

Argraphwyd yn y Mwŷthig gan Stafford Prŷs Gwerthwr Llyfrau.' 58 tudalen 18plyg.

16. 'Some Specimens of the Poetry of the Antient Welsh Bards. Translated into English, with Explanatory Notes on the Historical Passages, and a short Account of Men and Places mentioned by the Bards, in order to give the Curious some Idea of the Taste and Sentiments of our Ancestors, and their Manner of Writing. By the Revd Mr. Evan Evans, Curate of Llanvair Talyhaern in Denbighshire.

London: Printed for R. and J. Dodsley in Pall-Mall. M.DCC.LXIV.' 4to.

[Y mae y gwaith hwn yn gynnwysedig o dair rhan: y rhan gyntaf yn Seisonaeg; yr ail yn Lladin; a'r drydedd yn Gymraeg. Y mae dalen enw yn blaenori pob rhan neu ddosbarth. Y gyntaf yw y Seisoneg, yr hon yw rhagddalen yr holl gyfrol; a'r hon a gofnodir uchod. Dechreu y Lladin ar dudalen 60; a rhagddalen y rhan hòno sy fel y canlyn:—'De Bardis Dissertatio; in qua nonnulla quæ ad eorum antiquitatem et munus respiciunt, et ad præcipuos qui in Cambria floruerunt, breviter discutiuntur. Studio et Opera Evani Evans, Cereticensis.' Gelwir yr holl lyfr yn fynych wrth yr enw Lladin hwn. Dechreu y Gymraeg ar dudalen 95, a rhed yr enwad fel hyn:—'Ychydig Awdlau o waith yr hen Feirdd, yn amser Tywysogion Cymru, wedi eu cyfieithu i'r Saesoneg; Er mwyn dangos ansawdd ein Prydyddiaeth i wyr cywraint, dysgedig, anghyfiaith: â nodau byrrion, i eglurhau enwau Dynion, a Lleoedd, a grybwyllir ynddynt; a hanes byrr o honynt, wedi ei gasglu allan o Drioedd Ynys Prydain, a hen Goffadwriaethau eraill; er dywenydd i'r oes hon, ac er adfer ei haeddedigawl barch i'r hen famiaith Gymraeg, ac i'n Gwlad; a'u dyledus glod i'w thrigolion dewrwych gynt.' Nid oes argraffeb ond i'r tudalen cyntaf yn unig. Y drydedd ran a gynnwys yr 'Awdlau' gwreiddiol; yn y rhan gyntaf ceir cyfieithiad Seisonig o honynt; a'r ail ran, neu y dosbarth Lladin, sy draethawd yng nghylch yr hen feirdd a'u barddoniaeth. Gwelir fod Llanfair *Talhaiarn* wedi ei gamsillebu yn 'Llanvair *Talyhaern*' ar y ddalen gyntaf. Rhisiart Morys oedd golygwr y gwaith trwy'r wasg yn Llundain. Y mae llawer o gyfeiriadau at y gwaith hwn yn llythyrau y Prydydd Hir.]

Evan Evans, neu a adwaenir yn well gan ei gydwladwyr wrth ei enw barddonol, *Ieuan Brydydd Hir*, a anwyd yng Nghynhawdref, ym mhlwyf Lledrod, yn sir Aberteifi, yn y flwyddyn 1730. Derbyniodd elfenau cyntaf ei ddysgeidiaeth yn Ysgol Ramadegol Ystrad Meurig, yn yr un sir, o dan yr athraw enwog a sylfaenydd yr athrofa hòno, Mr. Edward Richard. Oddi yno symmudwyd ef i Goleg Merton, Rhydychain, yn 1751. Wedi gadael y brifysgol, bu yn gwasanaethu fel curad mewn amryw leoedd olynol, megys Towyn, yn sir Feirionydd, Llanberis a Llanllechid, yn sir Gaernarfon, a Llanfair Talhaiarn, yn sir Ddinbych. Dangosodd yn foreu ymlyniad wrth yr awen a hynafiaethau, yr hyn a dynodd sylw prif lenorion a gwladgarwyr y Dywysogaeth yn yr oes hòno. Bu yn ddiwyd iawn i gasglu ac adysgrifenu hen ysgrifeniadau, trwy ymweled â'r rhan fwyaf o'r llyfrfaoedd yng Nghymru y gwyddid fod hen ysgrifeniadau ynddynt. Bu Syr Watkin W. Wynn, a'r Dr. Warren, esgob Bangor, yn rhoddi blwydd-dâl iddo dros beth

amser, i'w alluogi i fyned ym mlaen gyda'i lafur hwnw. Caniataodd Paul Panton, Ysw., o'r Plas Gwyn, ym Mon, flwydd-dal bychan o 20*p*. yn y flwyddyn iddo, ar yr ammod o gael ei holl ysgrifeniadau ar ol ei farwolaeth, y rhai, o ganlyniad, hyd i gant o gyfrolau, a ddaethant i feddiant y boneddwr hwnw; ac yn llyfrfa y Plas Gwyn y maent eto.* Bu farw yng Nghynhawdref, Awst, 1789, yn 59 oed.† Am y cyhoeddwyr—

Robert a James Dodsley, yr oeddynt yn frodyr ac yn gymdeithion yn eu masnach. Yr oeddynt hefyd yn awdwyr o gryn enwogrwydd. Ganwyd Robert ym Mansffield, Nottingham, a bu farw yn Pall Mall, Llundain, Medi 5, 1764, tra yr oedd y gwaith hwn yn cael ei gyhoeddi. Dilynodd James y fasnach ym mlaen mor llwyddiannus, fel y daeth i gael ei enwi yn sirydd Llundain. Yr oedd yn werth dim llai na 70,000*p*. pan fu farw, yr hyn a gymmerodd le Chwefror 19, 1797, yn 74 oed. Gadawodd yn ei ewyllys agos i 400*p*. i gwmpeini y Safwerthwyr; 1000*p*. bob un i George Neal, a'i hen egwyddorwas John Walter, llyfrwerthwyr; 4000*p*. i John Freeborn, yr hwn a fuasai yn ei wasanaeth lawer o flynyddoedd; 1000*p*. i Mr. Webster, ei gyfreithiwr; 500*p*. i'w forwyn; 500*p*. a'i gerbyd a'i geffylau i'w gerbydwr; a 200*p*. yn y soddion i dlodion St. Iago, Westminster; yr oll yn 7,600*p*.‡

17. 'The Origin of Language and Nations, Hieroglyfically, Etymologically, and Topographically Defined and Fixed, After the Method of an English, Celtic, Greek, and Latin English Lexicon. Together with an Historical Preface, An Hieroglyfical Definition of Characters, A Celtic General Grammar, and Various other Matters of Antiquity. Treated of in a Method Entirely New. By Rowland Jones, Esqr; of the Inner Temple.

London: printed by J. Hughs, near Lincoln's-Inn-Fields: MDCCLXIV.' 8vo (small).

Rowland Jones ydoedd fab i John Williams, Bachellyn, ym mhlwyf Llanbedrog, yn Lleyn, sir Gaernarfon, ac a anwyd yn 1722.§ Pan yn lled ieuanc aeth i Lundain, lle y bu am ryw gymmaint o amser yn ysgrifenydd mewn swyddfa cyfreithiwr, yr hon alwad yr ymddengys a arferasai gyda'i dad, yr hwn yntau a fuasai yn ysgrifenydd gyda Mr. Parry, o'r Wern Fawr, un o hynafiaid teulu presennol Madryn, yn y sir uchod. Pan yn Llundain, daeth amgylchiad neillduol ag ef i adnabyddiaeth â boneddiges gyfoethog, yr hon a briododd, trwy yr hyn y daeth yn berchen meddiannau lawer. Yn lled ebrwydd wedi priodi, aeth yn aelod o'r Deml

* [Yn hytrach mewn blychau dan glo yn rhai o gelloedd Mr. Barton Panton, ger Caergybi, y maent yn llwydo ac yn pryfedu, heb i un llygad dynol gael cip arnynt.]

† Williams's *Eminent Welshmen; Cambrian Quarterly Magazine*, vol. i. p. 133, 134, 373, 393; gwel hefyd rhif 9, d.f. 1772; a rhif 2, d.f. 1776.

‡ Timperley's *Dictionary*.

§ *Coflyfr* Eglwys Llannor, yn Lleyn.

Fewnol *(Inner Temple)*, yn Llundain, a daeth yn gynghorwr yn y gyfraith. Bu farw yn Llundain, yn nechreu y flwyddyn 1774, yn 57 oed. Bu iddo dri o blant, sef dwy ferch, y rhai a fuont feirw yn ieuainc, ac un mab, sef y diweddar Rowland Jones, o'r Weirglodd Fawr, ger Pwllheli, yr hwn a fu farw yn ddibriod yn 1856; ac a gladdwyd yn Llanbedrog, Rhagfyr 2, 1856; a daeth yr etifeddiaeth i William Jones, o'r Ysgubor Hen, Eifionydd, yr hwn oedd fab i'w gefnder, a thrwyddo yntau i'w fab, y presennol feddiannydd, John Lloyd Jones, o'r Weirglodd Fawr *(Broom Hall)*, ac Uchel Sirydd sir Gaernarfon yn 1859.*

18. 'Hymnau Newyddion, Nad oedd yn un o'r Ddau Argraphiad cyntaf.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Ross, yr unig Argraphydd yn y Parthau hyn, a ddugwyd i fynu yn rheolaidd i'r Gelfyddyd honno. Lle gellir cael Argraphu pob math o Lyfrau ar Lythyren dda, am bris gweddaidd. 1764.'

['Ymddengys mai yr ychwanegiadau at yr argraffiadau cyntaf o'r "Môr o Wydr," oedd yr "Hymnau Newyddion" hyn, yn cael eu gwerthu, ef allai, wrthynt eu hunain er mwyn y rhai oedd wedi prynu y rhanau neu yr argraffiadau cyntaf. Yr oedd yr hymnau o 330 hyd 342 wedi eu chwanegu at yr ail argraffiad, a 343 hyd 353 at y trydydd, yn ol eu rhif yn argraffiad 1811; hymnau sacramentaidd o 354 hyd 365, a'r rhelyw ar destynau cyffredinol.']†

19. 'Crwydriad Dychymmyg i Fyd yr Ysbrydoedd; Neu Fyfyrdodau ar Farwolaeth y Parchedig Mr. Lewis Lewis, Gweinidog Eglwys Loegr, yr hwn a ymadawodd â'r Bŷd, Meh. 9, 1764. Gan William Williams.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Joan Ross, tros yr Awdwr, 1764.' [12plyg.]

20. 'Dwy Farwnad, Un ar ol Mr. Thomas Lewis, o Drefela yn Llan-gwm. Y llall ar ol Mrs. Rachel Harrys; gwraig Mr. Harrys, o Bont-y-pool; yn Sir Fynwe. Yr hon gyfnewidiwyd y Dŷdd cyntaf o Awst; yn y Flwyddyn 1763, yn y 25 o'i Hoed: Ac a gladdwyd yn Llangyby; Lle hefyd y claddwyd ei Mâb William

Argraphwyd yng Nghaerfyrddin; Gan Rhys Thomas. M,DCC,LXIV.'

21. 'Derchafiad y Credadyn mewn Cyfiawnder Cyfrifol. Wedi ei osod allan mewn Pregeth gan y Parchedig Ebenezer Erskine, M.A. Ar Salm lxxxix. 16. Newydd Gyfieithu yn ofalus o'r Saesoneg i'r Gymraeg.

* *Llythyr* y Parch. D. S. Evans; a'r eiddo R. Jones, yn y *Drych a'r Gwyliedydd* (New York).—[Gyda golwg ar y gwaith dychymmygol hwn o'r eiddo Rowland Jones, a'r defnydd a wnaed o hono gan y Dr. O. Puw, cyfeirir y darllenydd at erthygl ar y pwnc yn y *Brython*, i. 35.]

† *Llythyr* Mr. Morris Davies.

Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth yno gan J. Ross, lle caniateir Elw mawr i'r rhei'ny a'u pryno i'w roddi ymaith, neu iw hail werthu. 1764. [Prîs Dwy Geiniog.]'

22. 'Dwyfolder Beunyddiol y Cristion; ynghyd a Chyfarwyddiad-au pa fodd i rodio gyda Duw ar hyd y Dydd.

Caerfyrddin: Argraphwyd gan Ev. Powell. Yn Heol-y-Prior. 1764.'

23. 'Llythyr oddiwrth y Gymmanfa at yr Eglwysi.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan E. Powel. Yn Heol-y-Prior. 1764.'

24. 'Amlygiad Byr am Arddodiad Dwylaw; A'r Dderbyniad o'r Yspryd Glan: Ar y Dull o Ymddiddan rhwng Ymofynwr a Ffydd-lon. Gan Timothy Thomas. Ac a wnaethpwyd yn gyhoeddus ar ddymuniad Cymmanfa o Weinidogion, a gyfarfuant yn Rhyd-wilym, Hydref 24. 1764.

Caerfyrddin; Argraphwyd gan E. Powell, yn Heol-y-Prior. 1764. Pris tair Ceiniog.'

Yr oedd eglwysi y Bedyddwyr yng Nghymru yn selog iawn dros arddodiad dwylaw ar y bedyddiedig o'r fl. 1689 hyd 1737, heb nemawr o ddadl. Yn y flwyddyn olaf a enwyd, yr oedd dyn ieuanc yn ymgeisydd am gymmundeb, ac wrth ei holi, dywedodd nad oedd ei feddwl yn glir ar y pwnc hwnw. Achlysurodd hyny i'r pwnc gael ei chwilio; ac achlysurodd ddadleuon blinion rhwng gwei-nidogion ac aelodau a'u gilydd arno—rhai drosto, ac ereill yn ei erbyn. Bu dadl frwd arno yn eu heglwys yn Aberduar yn 1743. Yr oedd y Parch. T. Thomas, gweinidog Aberduar, yn selog dros yr arddodiad. Fel ag oedd y ddadl yn lledaenu, efe a roddodd yng nghyd ychydig o feddyliau arno, ac mewn cyfarfod chwarterol yn y gymmydogaeth, efe a'u darllenodd i'r gweinidogion oeddynt bresennol; ac ar gais rhai o honynt efe a'u cyhoeddodd, fel uchod, gyda rhai hymnau o'i gyfansoddiad ei hun.*

25. 'Ymddiddan rhwng Hen Wr dall ac Angau, &c.

Caerfyrddin argraphwyd ac ar werth gan J. Ross; a chan Mr. Bevan yn Abertawe. 1764. [Pris Ceiniog.]'

Y mae yr hysbysiad canlynol ar gefn y rhagddalen:—

'Hyn sydd i hysbysu fod John Ross Argraphydd o Lundain wedi gosod i fynu argraph-wasg yng Nghaerfyrddin, lle gall boneddigion crefftwyr ac ereill hyderu cael pa beth bynag a fyddont am gael ei argraphu, wedi ei wneuthur yn lan, yn gywir ac yn fuan, am Bris rhesymol.

* Thomas's *History of the Baptist Associations in Wales*, p. 48, 60.

*** Gan mai efe yw yr unig un yn y Parthau hyn a ddugwyd i fynu yn rheolaidd i'r Gelfyddyd, wedi gwasanaethu saith flynedd yn Ben-gweithiwr mewn argraphdy enwog yn Llundain: gwedi cael oddiyno yn ddiweddar lawer iawn o lythyrennau newyddion, a gwir argraph-wryf *(Printing Press)* wedi ei wneuthur yno gan saer celfydd enwog, a chwedi darparu Golygwr ar ei waith Cymraeg; gyda'r manteision hyn y mae yn gobeithio am ffafr y wladwriaeth, yr hyn y bydd iddo hyd eithaf ei allu wneuthur ei oreu i'w fwynhau a'i gynnal trwy ffyddlondeb, diwydrwydd, a gofal.'

26. ¶ (Congl o'r ddalen wedi ei thori ymaith.) 'Yr hwn a hunodd Meh. 9. 1764 gan Morgan Rhys.

Caerfyrddin.'*

27. 'Difyrwch i'r Pererinion o Fawl i'r Oen. Yr ail ran:† Neu Gasgliad o Hymnau ar amryw Destynau allan o'r Ysgrythur lan; iw canu yn ddirgel a chyhoeddys; a rhai o honynt yn gymmwys iw harfer wrth Fwrdd yr Arglwydd. Gan Dafydd Jones o Lanwrda, gynt o Gayo.

Argraphwyd yn Llanymddyfri, gan Rys Tomas. 1764.'

28. 'Caniadau y rhai sydd ar y Môr o Wydr, &c. i Frenhin y Saint. Yn dair rhan, I. Hymnau Ysprydol ar amryw Destynau. II. Hymnau Sacramentaidd. III. Caniadau Moesol, ar amryw Fesurau ac Ystyriaethau. Y drydedd Argraphiad. Gan W. Williams.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Ross, yr unig Argraphydd yn y Parthau hyn, a ddugwyd i fynu yn rheolaidd i'r Gelfyddyd honno. Lle gellir cael Argraphu pob math o Lyfrau ar Lythyren dda, am brîs gweddaidd. M,DCC,LXIV: ☞ Enter'd according to Act of Parliament, and whoever shall presume to print the Whole, or any Part hereof, will be prosecuted.'

Y mae yn gyssylltedig â hwn y darnau canlynol o waith yr un awdwr:—'Ffydd ac Anghrediniaeth, Gras a Serchiadau naturiol, yn cael eu darlunio mewn Can Benrydd; neu Galarnad Eusebius,' &c.; 'Cân newydd am Briodas,' &c.; 'Hymnau Newyddion, nad oedd yn un o'r Ddau Argraphiad Cyntaf.' Hysbysir hefyd, 'Fod 300 o Lyfrau Siccrwydd Ffydd, Mr. Erskine, yn sefyll heb werthi,' a bod ''r Ran o Grefyddau'r Byd, wedi eu brintio.' Y mae y ddau hysbysiad yn helaeth iawn, yn ol dull y bardd o Bant y Celyn: y cwbl yn llyfr o 160 o dudalenau 12plyg.

29. 'Life and Character of the late Lord Chancellor Jeffreys. 1764.'

* *Llythyr* Mr. Ben. Davies, Ysgolfeistr.

† Gwel rhif 6, d.f. 1763.

30. 'Dwyfolder Beunyddiol y Cristion; ynghyd a Chyfarwydd-iadau pa fodd i rodio gyda Duw ar hyd y dydd.

Caerfyrddin: Argraphwyd gan Ev. Powell, yn Heol-y-Prior. 1764.'

[Yr un yn ddiau â rhif 22, dan y flwyddyn hon.]

31. ['Diferyn dewisol o Fel o'r Graig Crist. Neu Air byrr o Gyngor i Seintiau a Phechaduriaid. Yn Saeson-aeg gan T. Wilcocs. Y Trydydd Argraphiad, gyda Diwygiad o amryw Feiau yn yr Argraphiadau cyntaf. At ba un y rhag-chwanegwyd Odl, Am ddirgelwch Enwau, dwy Anian, a Swyddau Crist. Newydd gyfieithu allan o'r Llyfr enwog hwnnw, elwir Gospel Sonnets, a 'scrifennwyd yn Saeson-aeg, gan Ralph Erskine, M.A.

Caerfyrddin: Argraphwyd gan Joan Ross, tros Lewis Wiliam. 1764. [Prîs Dwy Geiniog.'] [24plyg.]

32. [' Carwr y Cymru yn anfon ychydig Gymmorth i bob Tad a Mam, &c. neu Ymddiddan Ysbrydol rhwng Rhieni a Phlant.

Argraphwyd yn y Mwythig tros Robert Lloyd, yr hwn a roes y Perl Gwerthfawr allan. 1764.'*

## 1765.

1. 'Y Rhedegwr Ysbrydol: Neu Bortreiad o'r Dyn ag sydd yn rhedeg i'r Nefoedd: Ynghyd a'r Ffordd y mae yn rhedeg ynddi, y Nodau y mae yn myned heibio iddynt: Hefyd rhai Cyfarwydd-iadau i redeg fel y caffaer gafael, Ar Cor ix. 24. Felly rhedwch fel y caffoch afael. At yr hyn y chwanegwyd Llythyr at bob Dynion Diog a Diofal; ac y'chwanegwyd Carchar-Fyfyrdodau, 'sgrifenwyd 1665. Wedi eu cyfeirio at galonnau Saint yn dioddef a Phechadur-iaid yn teyrnasu. Gan John Bunyan. Newydd eu cyfieithu o Ail Lyfr un-plyg yr Awdwr a argraphwyd yn Llundain 1737, tan Olygiad y Parch. Samuel Wilson.

Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth yno gan J. Ross. 1765. [Prîs 4d] Gyda Elw rhesymol i'r rhainy a bryno lawer.'

Yr oedd hwn yn ail argraffiad. Y mae yn gamgymmeriad dy-wedyd yma ei fod o gyfieithiad Mr. S. Wilson,† canys Sais ydoedd ef, a golygydd argraffiad Seisonig o holl waith yr awdwr.

2. ' Cyssondeb y Pedair Efengyl: Gyd ag Agoriad Byrr, a Nodau Athrawus, ar yr hyn a dybir dywyllaf ac anhawsaf ynddynt. Yn y

* Gwel rhif 5, d.f. 1738; *Traethodydd* ix. t. 149.

† [Ni ddywedir hyny ar y tudalen hwn. Yr hyn a fynegir ydyw, cael o'r gwaith ei gyfieithu o ail lyfr unplyg yr awdwr, yr hwn lyfr unplyg a argraff-wyd yn 1737 dan olygiad Samuel Wilson. Cymh. rhif 5, d.f. 1766.]

blaen y mae hefyd Rhagdraethawd buddiol yn arwain at y Cysson-deb, gan osod allan Hanes y wir Grefydd a'i llewyrchiad fwy fwy bob oes er dechreuad y Byd. Chwanegwyd hefyd Rifres yr amser-oedd. Gan John Evans, Athraw yn y Celfyddydau.

Argraphwyd yn Mristo gan E. Farley, 1765.' [8plyg.]

John Evans ydoedd o deulu Meini y Gwynion, plwyf Llanarth, sir Aberteifi. Yr oedd gweinidog hefyd o'r enw yn gwasanaethu yn eglwys y plwyf hwnw yn y dyddiau hyny, canys y mae ei enw ym mhlith tanysgrifwyr am lyfrau Cymreig yr oes hòno; ond gwahan-iaethir hwn oddi wrth hwnw fel tanysgrifiwr am 'Bregethau' Ieuan Brydydd Hir, fel hyn:—'Rev. Mr. John Evans, A.M. Author of the *Harmony of the Four Gospels.*' Yr oedd yn cael ei alw yn sir Aberteifi yn 'Ffeiriad Plymouth,' am, ef allai, ei fod wedi bod yn gweinidogaethu yno. Ymddengys mai efe ydoedd y John Evans a olygodd argraffiad o'r Beibl yn 1769; ac ei fod y pryd hyny yn gapelwr i'r brenin yn Whitehall, Llundain. Ceir ei enw yng Nghofrestr Cymdeithas y Cymmrodorion, am 1759-62, fel yn enedigol o sir Gaer-fyrddin. Yr oedd perthynasau iddo yn byw ym Moeddyn, ym mhlwyf Llanarth, hyd yn ddiweddar. Efe a gyfieithodd hefyd y 'Deddfau Cristionogol,' gan Esgob Gastrel.* Cyfieithwyd hefyd 'Ymarferiadau a Myfyrdodau Sacramentaidd' y Dr. Earl, gan un 'Ioan Ifans;'† ond gall fod hyny yn rhy foreu i'w briodoli i gyfieith-ydd gwaith Gastrel. Dyma y cynnygiad cyntaf i roddi i'r Cymry esboniad rheolaidd ar unrhyw ranau o'r Ysgrythyrau, bymtheng‡ mlynedd cyn i Sylwadau Mr. Peter Williams ddyfod allan y waith gyntaf. Rhoddwyd argraffiad arall yng Nghaerlleon, gan J. Hemingway, yn 1804.

3. ¶ 'Annerch difrifol a charedig at y bobl a elwir Methodist-iaid.

Argraphwyd yn Llundain, gan Siôn a Wm. Oliver, Printwyr i'r Gymdeithas er Helaethu Gwybodaeth Gristionogol, yn Bartholomew Close yn agos i West Smithfield. 1765.'

[Llyfryn bychan ydyw, Arminaidd yn ei olygiadau.]

4. 'Pechadur Jerusalem yn Gadwedig: Neu Newydd da i'r gwaethaf o Ddynion; a Chynnorthwy i'r Eneidiau Anobeithiol; Gan Ddangos y mynneu Iesu Grist gynnig Trugaredd yn gyntaf i'r Gwaethaf o Bechaduriaid, &c. Scrifennwyd yn Saesoneg gan Joan Bunyan, Awdwr Taith y Pererin; a gyfieithwyd i'r Cymraeg gan Benjamin Meredith.

Caerlleon, Argraphwyd yn y Flwyddyn 1765, gan W. Read a Thos. Huxley, ac a werthir gan Lewis Jones, tan Gauad am Sŵllt i'r Cynnorthwŷwŷr, ag i'r Wlâd am Bumtheg Ceiniog.'

* Gwel rhif 2, d.f. 1773. [Gweler y *Greal*, rhif 6. t. 282.]

† Gwel rhif 3, d.f. 1735.

‡ [Yn hytrach *pum* mlynedd; canys yn 1770 yr ymddangosodd argraffiad cyntaf y Feibl Peter Williams.]

Yr oedd hwn yn ail argraffiad.*

5. 'Eucharistia, Neu Draethawd am y Sacrament Swpper yr Arglwydd. A scrifennwyd gyntaf yn Lladin mewn Prydyddiaeth gan y Dysgedig Hugo Grotius. Newydd ei Gyfieithu i'r Gymraeg, Gan Mr. Dafydd Jones, o Lawenog. At ba un y chwanegwyd, Agoriad Byrr o'r Salm 37. Ynghyd â Gweddi'r Tywysog Eugene.

Caerfyrddin, Argraphwyd tros yr Awdwr gan Ioan Ross. 1765. (Pris Chwe Cheiniog.') [12plyg: 40 tudalen.]

6. ¶ 'Pelydr a thywyniad ysprydol, neu Bwysi o Fyrr: sef Dewisol, a chyssirlawn fyfyrdodau, yn adfywio, goleuo, a llonni'r Enaid. Wedi ei ail Brintio yn Saesonaeg yr 11eg fl. o ddedwyddol Deyrnasiad y Brenin William y Trydydd. Imprimat. Jos. Caryl.

Mwythig.'

Mae yn debyg mai ail argraffiad yw hwn.†

7. 'Llythyrau rhwng Mr. Samuel Pike a Mr. Robert Sandeman mewn Perthynas i'r Llythyrau ar Theron ac Aspasio. Hefyd rhai meddyliau ar Gristianowgrwydd. Mewn llythyr at Gyfaill. Gan Awdwr y Llythyrau ar Theron ac Aspasio. At yr hyn y 'chwanegwyd, Troedigaeth Jonathan yr Iuddew, fel pe mynegasid ganddo ei hun. Ynghyd â rhan o'r Diwedd-Glo j'r Llythyrau ar Theron ac Aspasio. Wedi eu cyhoeddi yn Gymraeg Gan John Popkin.

Caerfyrddin, Argraphwyd, gan Joan Ross, yn Heol Awst, 1765.'

Y mae y rhagymadrodd gan 'William Davies.' Yng nghanol yr 18fed ganrif, ysgrifenodd y Parchedig James Hervey lyfr a ganmolid yn fawr gan Galfiniaid yr oes hòno, ar natur ffydd gyfiawnhaol, o'r enw 'Theron ac Aspasio,' yr hyn a ystyrid fel cilgwthiad i Arminiaeth Mr. J. Wesley, gan ei wrthwynebwyr. Ond cyfododd gwrthwynebwyr i'r gwaith o blith y Calfiniaid, ym Medyddwyr Sandemanaidd Ysgotland, y rhai a sefydlasid gan John Glass. Robert Sandeman, un o'r henuriaid, a gyhoeddodd restr o Lythyrau at Mr. Hervey, yr hyn a achlysurodd ddadl rhyngddo a Samuel Pike, gweinidog Annibynol; a'r canlyniad fu, i Pike gael ei ennill i uno â'r Sandemaniaid yn Llundain. I gynnyrchu yr un daliadau yng Nghymru y cyhoeddwyd y Llythyrau hyn yn Gymraeg, gan Mr. Popkin, yr hwn, ac efe yn Fethodistiad Calfinaidd, a ennillwyd i fod yn un o honynt. Lledaenwyd y tybiau Sandemanaidd gryn lawer ym mhlith y Bedyddwyr yng Ngwynedd.

8. 'Yr Ymroddiad, neu Bapurun. A gyfieithwyd i helpu'r Cymru allan o'r hunan a'r drygioni. At ba un y chwanegwyd yn

* Gwel rhif 3, d.f. 1721.

† Gwel rhif 5, d.f. 1740.

gyntaf y Disgybl a'r Athraw o newydd.* Ac yn drydedd Gwyddor uchod,† &c. Gan Morgan Llwyd. Wedi ei ddiwygio yn ofalus gan Ifan Thomas, Argraphydd.

Mwythig, Argraphwyd gan W. Williams, tros Richard Jones o Ddyffryn Clwyd. M,DCC,LXV.'

Cynnwysa 62 tudalen 32plyg. Hwn oedd y trydydd argraffiad.‡ Cynnwysa yr argraffiad hwn y tri gwahanol o'r fl. 1657.§

Evan Thomas neu Ifan Tomas, ydoedd fab i John Abel, neu John Thomas, yr hwn oedd yntau yn fab i Thomas Abel, o'r Wtra Wen, ym mhlwyf Llanfair Caereinion, yn sir Drefaldwyn, lle y derbynid ac y pregethai Mr. Howel Harris, a phregethwyr cyntaf y Methodistiaid hyny.‖ Arferai John Abel deithio i bregethu ar hyd y wlad o dan yr enw John Thomas, a dichon fod y mab Evan wedi bod hefyd yn arferyd ei ddawn yn ei ieuenctyd; canys gelwid ef, mewn gwawd, gan ei gyfoedion yn 'Barchedig Evan Thomas,' naill ai am iddo fod yn arfer siarad yn gyhoeddus, neu am ei fod o dalent a gwybodaeth helaethach na hwynt. Dygwyd ef i fyny i'r gelfyddyd o argraffu, ac yr oedd yn gyssodwr da a chyflym, yn ysgolhaig Cymraeg da, yr hyn a'i gwnai yn wasanaethydd gwerthfawr mewn swyddfäu argraffwyr Seisonig, lle yr argreffid llyfrau Cymraeg, megys yn yr Amwythig, &c. Fel cyssodydd a golygydd, ac nid fel awdwr, y mae ei enw wrth y llyfrau y ceir ei enw yn gyssylltedig â hwynt. Symmudodd i Gaerlleon yn 1765; ac i Gaerfyrddin tua'r fl. 1767-69, lle y bu rai blynyddau; ond erbyn y flwyddyn 1781, yr oedd yn cyssodi yn swyddfa Mr. T. Wood, argraffydd cyntaf y *Shrewsbury Chronicle.* Yr oedd yn briod â merch i deulu cyfrifol o'r Cae Ceirch, ger Dolgellau, yr hon oedd chwaer i Mrs. Erasmus Evans, o Lanfyllin, ac i Mr. Richards, tad y Barwn Richards, o Gaerynwch. Troes allan yn ddyn ofer ei fywyd, a hoff iawn o ymyfed. Yr oedd wedi gadael argraffu a throi yn serydd, daroganwr, a dewin, i'r neb a wrandawai arno. Cyhoeddodd Almanac, wrth ei enw ei hun, o bris chwecheiniog. Yr oedd hefyd yn fardd lled dda, a'r enw barddonol a gymmerai arno ei hun ydoedd *Ieuan Fardd Du.* Yr oedd cyn diwedd ei oes wedi myned yn grwydryn mor dlawd a diamgeledd, fel na wyddai ym mha le i gael ei bryd bwyd nesaf, nes y darfu i furiau Nawdd-dy yn y Mwythig ei dderbyn, lle y bu farw Ionawr 12, 1814, yn 80 oed.**

* ['Gwaith Morgan Llwyd oedd hwn, ac nid hen lyfr y Dr. Rosier Smith.'—M.D.]

† ['Gwaith Morgan Llwyd oedd hwn hefyd; ac ar gân y mae. Yr oedd M. Ll. yn credu egwyddorion serddewiniaeth, sef bod gan y planedau ddylanwad ar ddyn yn ei gyflwr diadgenedledig, ond wedi ei gyfnewid trwy ras, ei fod wedi ei ddyrchafu uwch law y dylanwadau hyny. Rhywbeth felly, dybygwn, oedd ei olygiadau ar hyn.'—M.D.—Ymddengys gan hyny fod nodyn yr awdwr ar rif 3, d.f. 1657, yn anghywir o barthed y ddau lyfryn hyn.]

‡ Gwel rhif 1, 2, 3, 1657.

§ Gwel rhif 1, 2, 3, a 6, y flwyddyn hòno.

‖ *Methodistiaeth Cymru,* cyf. ii. t. 392.

** *Y Traethodydd,* 1848, t. 165, 364.

9. 'Marwnad Robert Davies, Gwr Duwiol o Blwyf Machen. Yn Shir Fynwau. Yr hwn a fu Farw y Bumed ar Ygain, o Fis Awst, 1763, &c. Gan Evan Thomas. M,DCC,LXV.'

10. ¶. 'Bugeilgerdd. Gan Edward Richard, Ystrad Meurig.'

EDWARD RICHARD ydoedd fab i Thomas Richard, dilledydd a thafarnwr yn Ystrad Meurig, sir Aberteifi, lle y ganwyd ef yn 1714. Cafodd elfenau ei ddysgeidiaeth gan ei frawd, Abraham, yr hwn a ddygasid i fyny yn ysgolion gramadegol Henffordd a Chaerfyrddin, ac wedi hyny yn Rhydychain; a chadwai ysgol yn yr eglwys pan ddeuai adref rhwng y termau. Aeth Edward hefyd i'r un ysgol i Gaerfyrddin, yr hyn, gyda chynnorthwy un Mr. Pugh, o Lanarth, a'i dygodd yn ddigon o ysgolhaig i allu sefydlu ysgol ei hun yn Ystrad Meurig yn 1734, pan yn 20 oed. O dan yr ystyriaeth o'i analluogrwydd i wneyd cyfiawnder â'i ysgolorion, efe a roes ei ysgol i fyny, gan lafurus ymgynnyddu trwy gynnorthwy Mr. Evan Evans *(Ieuan Brydydd Hir)** dros ddwy flynedd. Ail agorodd ei ysgol yn 1745. Cafodd ei benodi yn athraw yr Ysgol Rad yn Lledrod. Gan ei fod yn gynnil ac ammhriod, gallodd arbed peth cyfoeth, a phenderfynodd sefydlu ysgol ramadegol yn Ystrad Meurig, ar gost tyddyn a brynasai, ac yn 1757 sicrhaodd ef i'r dyben hyny. Sefydlodd lyfrfa yno yn 1769. Yn 1771 sicrhaodd amrai dyddynod bychain ereill tuag at gynnal yr ysgol. Yn 1774 gwnaeth weithred newydd ar y cwbl. Bu farw Chwefror 28, 1777, yn 63 oed, a chladdwyd ef yn eglwys Ystrad Meurig.†

11. ¶ 'Atteb i Lyfr Mr. Thomas ar Arddodiad Dwylaw.'

Dadl oedd hon a ffynai y pryd hyny yng nghorff y Bedyddwyr, ac a ddygwyd ym mlaen gyda brwdfrydedd niweidiol i'r achos mewn llawer o fanau yn y Deheubarth.‡

12. 'Drych i ddwfr Cleifion, I'w cynnorthwyo i ddeall Achos, Natur, a Chanlyniadau eu Clefydau, &c. At yr hyn y chwanegwyd, rhai Dyfr-arwyddion o waith Hên Feddygon Myddfai; y rhai o herwydd eu gwerthfawrogrwydd, a gadwyd o law i law mewn ysgrifen 534 o Flynyddau, &c.

Caerfyrddin; Argraphwyd gan Ioan Ross, tros Dafydd Efan, o Ffynnon-nedd, gerllaw Bont ar Gothi, ac ar werth ganddo yn ei dŷ ei hun, ac yn yr Argraph-Dŷ yn Heol Awst. 1765. [Pris Dwy Geiniog.]'

MEDDYGON MYDDFAI. Yr oedd y lle hwn yn y 13 ganrif yn cael ei fynychu gan feddygon, un o ba rai oedd Rhiwallon, yr hwn, mewn cyssylltiad â thri ereill, ei feibion, tra yr oeddynt yma, a enwogasant eu hunain trwy ysgrifenu traethawd ar yr ymarferiaeth

* [Yr oedd Ed. Richard 16 flynedd yn *hŷn* na'r Prydydd Hir.]

† *Hanes ei Fywyd*, yn gyssylltiol â'r *Eos*, 1811; Meyrick's *Cardiganshire*; Williams's *Eminent Welshmen*; *Yr Haul*, am Dachwedd, 1848.

‡ Gwel rhif 9 a 24, d.f. 1764.

feddygol, yr hwn oedd, os nad yw eto, yn cael ei gadw ym mhlith Llawysgrifau Cymreig yr Ysgol Rad Gymreig, yn Llundain.

[Argraffwyd gwaith Meddygon Myddfai, gyda chyfieithiad Seisoneg, dan nawdd Cymdeithas y Llawysgrifau Cymreig, yn Llanymddyfri yn 1861.]

13. 'Ymofyniad Byrr pa un a ydyw y ddwy ddefod o Arddodiad dwylaw ar Bersonau Bedyddiedig fel y cyfryw yn Ordinhad o Grist.

Argraphwyd gan S. Farley. M,DCC,LXV.'

14. 'Crist Bywyd y Cristion. Wedi ei osod allan mewn dwy Bregeth ar Phil. i. 21, &c. Gan Weinidog o Eglwys Loegr. At yr hyn y chwanegwyd Dwy Hymn, ar yr un Ystyriaeth.

Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth gan Ioan Ross, yn Heol Awst, tros yr Awdwr. 1755. (Pris Tair Ceiniog.)'

15. 'Charter for the Borough of Carmarthen.

Carmarthen, Printed by J. Ross. 1765.'

'This Charter has been principally repealed by the 1st W.4th.' —MS.

16. 'Llythyr oddiwrth Gymmanfa o Weinidogion, at yr amryw Eglwysi, i ba rai y maent yn perthynu.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Ross. 1765.'

17. 'Cyfaill i'r Cymro; neu, Lyfr o Ddiddanwch Cymhwysol, Ei dowys Dyn ar Ffordd o Hyfrydwch: Yn Ganeuon, a Charolau, ag Englynion hawdd yw deuall. O waith Prydyddion Sir y Flint, a Sir Ddimbech. O Gasgliad W. Hope, o Dre Fostyn.

Caerlleon: Argraphwyd gan W. Read a T. Huxley yn y Flwyddyn 1765; ag ar werth gan W. Hope, yn Sir y Flint.'

Yr awdwyr ydynt—'Dafydd Jones, o Lanfair Tal Haiarn;' 'Hugh Roberts, o Fagillt;' William Hope, o Dre Fostyn;' 'Edward Barnes, o Lanelwy;' 'Thomas Edwards, o Nant Henllan;' 'Thomas Jones, o Ruabon;' 'Daniel Jones, o Ruabon;' ac 'Edward Thomas, o Lan Rhydwen;' yn gwneyd llyfryn o 148 tudalen 18plyg.

18. 'An Account of the Convincement, Exercises, Services and Travels of that Ancient Servant of the Lord, Richard Davies. With some Relations of Ancient Friends, and the Spreading of the Truth in North Wales, &c. The Second Edition.*

London, Printed and Sold by Luke Hinde, at the Bible in George-Yard, Lombard Street. 1765.'

* Gwel rhif 3, d.f. 1705.

Yr oedd hwn mewn gwirionedd yn drydydd argraffiad; ond ef allai na wyddai cyhoeddwr yr argraffiad hwn am yr argraffiad Americanaidd, yr hwn hefyd a elwir, ac y mae yn debyg, oedd yr ail argraffiad.*

## 1766.

1. ‘Crist yn y Cymmylau yn dyfod i’r Farn, sef Pregeth ar Ymddattodiad pob peth. Lle y danghosir ail ddyfodiad Crist i Farn, hefyd, y treual a’r barnedigaeth echryslon a Gyhoeddir yn erbyn yr holl Bechaduriaid anychweledig. Ynghyd a gwynfydedig a gogoneddus Gyflwr Pob un a edifarhaodd; ac a ddewisodd Grist o flaen dim.

Argraphwyd yn y Mwythig gan W. Williams, tros Evan Ellis, 1766.’

2. ‘Gogoneddus Ddirgelwch Trugaredd Duw; Neu Werthfawr Feddyginiaeth i Eneidiau lluddedig, wedi ei osod allan mewn Traethawd, lle’r agorir dau ddirgelwch mawr. i. Dirgelwch rhad ras dadguddiedig yn yr Efengyl. ii. Dirgelwch yr Efengyl yn gynnwysedig yn y Gyfraith. Fe brofir hefyd ynddo, fod y Gyfraith Frenhinol yn rheol o ufudd-dod Efangylaidd, &c. Ysgrifenwyd yn Saesonaeg gan John Brisco,† Gweinidog yr Efengyl yn Thomas, Southwark.

Argraphwyd yn Llundain yn 1647. Yn Gymraeg gan J. M. Caerfyrddin, Argraphwyd, gan Joan Ross. 1766. [12plyg.]

Mae yn debyg mai John Morgan, o Gynwyl, oedd y J. M. hwn.‡ Yr awdwr—

John Brisco neu Briscoe ydoedd fab i Robert Brisco, o High Wycomb, yn sir Buckingham, lle y ganwyd yntau, a chafodd ei ddysgeidiaeth yn Rhydychain, lle y cymmerodd ei B.C. Dechreuodd bregethu yn sir Bercs, yn nechreu y Weriniaeth, gan yr hon lywodraeth y cafodd weinidogaeth St. Thomas, Southwarc, ac hefyd ei benodi yn un o Brofwyr cymhwysderau ymgeiswyr am y weinidogaeth. Ychwanegwyd iddo hefyd ofal St. George, Southwarc. Pan ddaeth Siarl II. i’r orsedd, efe a drowyd allan, o blegid ei Anghydffurfiaeth. Wedi hyny bu yn gweinidogaethu lle y caffai; ac o’r diwedd ymsefydlodd yn ei le genedigol, lle y bu farw yn nechreu mis Mehefin, 1679.’§

* Gwel rhif 18, d.f. 1752.

† [*Bisco* a ddylai yr enw fod; ond yr wyf yn meddwl mai ‘Brisco,’ fel y mae ein hawdwr wedi ei roddi, ac fel y mae yn fy nadysgrif innau, sydd ar wyneblen yr argraffiad hwn.]

‡ Gwel rhif 4, d,f. 1744.

§ Wood’s *Athen. Oxon.* vol. ii. p. 474; Hysbysiad yn flaenorol i’r ail argraffiad uchod; gwel rhif 1, d.f. 1796.

3. 'Ffarwel Weledig, Groesaw Anweledig Bethau, neu rai Hymnau o Fawl i Dduw a'r Oen. Yr ail Ran. Gan Wm. Williams.

Caerfyrddin, Argraphwyd tros yr Awdwr, gan J. Ross. 1766.'

4. 'Rhai Meddyliau am Berson Crist. Wedi ei gymmeryd allan o waith John Glass. Vol. ii. tu dalen 1—5. Hefyd, Llythyr oddiwrth S. Pike at R. Sandeman. Gyd â Chyffes S. Pike, o flaen yr Eglwys yn St. Martin's le Grand, yn Llundain, a wnaed Rhagfyr 22, 1765.

Argraffwyd yng Nghaerfyrddin.'

5. 'Ocheneidiau o Uffern: Neu Riddfannau Enaid damnedig. Yn dangos cyflwr galarus y Damnedigion, mewn ffyddlon Esponiad ar Ddammeg y Gwr Goludog a Lazarus, Luc xvi. 19 i'r 31. Fe ddichon hefyd jawn wasanaethu fel Gair o Rybudd i Bechaduriaid, hên ac jeuaingc, trwy Ffydd yn Iesu Grist, i ochelyd y lle poenus hwnw. Ynghyd â Dadcuddiad o ddefnyddioldeb yr Scrythurau, fel ein diogel Gyfarwyddyd i ochelyd Poenau Uffern. Gan John Bunyan. Newydd ei gyfieithu i'r Cymraeg yn ol yr Argraphiad Saesoneg tan Olygiad y Parchedig Mr. Samuel Wilson, 1737.

Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth gan J. Ross. Pris Swllt wedi ei rwymo, 8 geiniog heb hynny, gyd ag Elw rhesymmol i'r rhai a bryno amryw ynghyd. M,DCC,LXVI.' [12plyg: 168 tudalen.]

6. 'Ocheneidiau o Uffern, wedi eu rhoddi mewn Pregeth oddiwrth Ddammeg Difas a Lazarus. Gan ddifeunydd Parchedig. A Chyfieithiad J. T.

Caerlleon, Argraffwyd gan Thos. Huxley, yn agos i'r Eastgate, neu Borth y Dwyrain.'

Hynod oedd i ddau waith ar 'Ddammeg y Goludog a Lazarus,' o'r un enw, gael eu cyhoeddi yn yr un flwyddyn, gan wahanol argraffwyr, ac eto nid yr un awduriaeth ydynt, er yr un enw.

7. 'Achos Babanod yn cael ei amddiffyn. Gan Edward Hitchin. Cyfieithwyd o'r ail Argraffiad yn Saesoneg, ac a gyhoeddwyd gan Aelodau o Gymdeithas a gyfarfyddai yn y Shop, Plwyf Cilmaenllwyd, yn Sir Gaerfyrddin.

Argraffwyd yng Nghaerfyrddin gan J. Ross.'

EDWARD HITCHIN, A.C., a alwyd i'r weinidogaeth ym mhlith yr Ymneillduwyr o ddeuto 1743, fel cynnorthwywr i'r Parch. R. Rowlin, gweinidog hen gynnulleidfa Annibynol Fetter Lane, Llundain. Wedi hyny efe a symmudodd i weinidogaethu i Artillery Lane, Bishopsgate Street. Yn 1755, adeiladwyd capel White Row, i'r

hwn y symmudodd y gynnulleidfa, a lle y parhaodd yntau i lafurio hyd 1774, pan y bu farw, yn 49 oed.*

8. 'Drych y Cristion, neu Gadwedigol Ffydd, wedi ei Datguddio mewn Ymddiddan, &c.

Dublin, Argraffwyd gan S. Powell a'i Fab. MDCCLXVI.'†

9. 'Adgyfodiad ein Harglwydd Iesu Grist wedi ei brofi, mewn Pregeth, a bregethwyd ar Ddydd Sul y Pasg. Gan y diweddar Barchedig Mr. Samuel o Langar.

Argraphwyd tros William James.'

Ni ddywedir ym mha le, er yr ymddengys mai gan S. Prys, Mwythig, yr argraffwyd ef. Y mae rhestr o lyfrau S. Prys ar ei ddiwedd.

10. 'Mona Antiqua Restaurata. An Archæological Discourse on the Antiquities, Natural and Historical, of the Isle of Anglesey, the Ancient Seat of the British Druids. In Two Essays. With an Appendix, containing a Comparative Table of Primitive Words, and the Derivatives of them in several of the Tongues of Europe; with Remarks upon them. Together with Some Letters, and Three Catalogues. By Henry Rowlands, Vicar of Llanidan, in the Isle of Anglesey. The Second Edition,‡ Corrected and Improved.

London: Printed for J. Knox, near Southampton-Street in the Strand. MDCCLXVI.' [4to.]

Golygydd a diwygiwr y gwaith hwn ydoedd y Dr. Henry Owen, yr hwn a orphenodd ddwyn yr argraffiad cyntaf o'r wasg. Y mae rhagymadrodd o'i waith yn ei ragflaenu.§

11. 'Y Ffigys-bren anffrwythlon: neu Farn a Chwymp y Proffeswr diffrwyth. Yn dangos y Dichon Dydd Gras ddarfod arno, yn hîr cyn darfyddo ei Fywyd. Hefyd yr Arwyddion wrth ba rai y gellir adnabod y cyfryw Ystrueiniaid marwol. Gan John Bunyan. Newydd ei gyfieithu o Ail-Lyfr unblyg yr Awdwr, a argraphwyd yn Lluudain, 1737, tan Olygiad y Parch. Mr. Sam. Wilson.

Caerfyrddin, Argraphwyd tros y Cyhoeddwr gan J. Ross. 1766.' [12plyg: 84 tudalen.]

* *Congregational Magazine*, 1826, p. 136.

† Gwel dan y flwyddyn 1677. Cynnwysa hwn yr holl fân lyfrau hyny, 'Carwr y Cymro,' &c., a gyhoeddwyd y flwyddyn hòno. Cyhoeddwyd y gwaith y tro hwn o dan olygiad Mr. John Roberts, neu Sion Rhobert Lewys, yr Almanaciwr, tybygid.

‡ Gwel rhif 3, d.f. 1723.

§ Gwel rhif 9, d.f. 1748.

12. 'Anfeidrol Werthfawrogrwydd Enaid Dyn, ac anrhaethadwy ffolineb y dyn a fo diofal am dano: Ynghyd ag Annogaeth ddifrifol i bechaduriaid i droi at Dduw, a derbyn Jechydwriaeth i'w Heneidiau. Gan Evan Thomas, argraphydd.

Caerlleon, Argraphwyd.'

13. 'Hymnau, neu Ganiadau er Mawl a Gogoniant i Dduw. Yn cynnwys ocheneidiau, griddfanau, ymdrechiadau, a buddugoliaethau y Pererinion, wrth ymdeithio tua'r bywyd. Gan John Roberts.*

14. 'Ymddiddan rhwng yr Iesu a'r Publican, yr hwn sydd er addysg a chysur i'r Cristion gwan. Trydydd argraphiad.

Caerlleon.'

15. 'Helaethrwydd o Ras i'r Pennaf o Bechaduriaid. Sef cywir hanes o Fywyd a Marwolaeth John Bunyan. O gyfieithiad Evan Thomas.

Caerfyrddin, argraffwyd.'

Yr oedd hwn yn drydydd argraffiad.†

16. 'Cydymaith Diddan. Yn ddwy ran. Y rhan gyntaf sydd yn cynnwys crynodeb o Araithyddiaeth yr hen Frutaniaid yn mysgu Brythonaeg i'w gilydd. Yr ail ran sydd yn adrodd mewn euraid odlau di-rif, afieithus ddifyrwch Brodorion Cymry. Digon o Grwth a Thelyn, medd yr Gyrys o Iâl, 1216. Gan Dafydd Jones o Drefriw, C. C.

Caerlleon, argraffwyd gan Elizabeth Adams, &c.'

17. 'Myfyrdodau difrifol ar y pedwar peth diweddaf, sef, Angeu, Barn, Nef, ac Uffern. Gan John Bunyan.

Caerfyrddin, argraffwyd.'

18. 'Esponiad byrr ar Gatecism yr Eglwys, sef Holiadau ac Attebion ysgrythyrol ynghylch Egwyddorion a Dyledswyddau'r Grefydd Grist'nogol. Yn bum rhan. Gan y Parchedig Mr. Griffith Jones, gynt Person Llanddowror, yn sir Gaerfyrddin. Y drydedd argraffiad.‡

Llundain, argraffwyd gan J. a W. Olifer, ym Martholomew Clôs, gerllaw Smithfield orllewinol.'

* Hen Almanaciwr Caergybi [Sion Rhobert Lewis].

† Gwel rhif 6, d.f. 1737; a rhif 8, d.f. 1763.

‡ Gwel rhif 1, d.f. 1743; rhif 2, d.f. 1749; a hwn yma. Daeth argraffiad arall allan gan un David Oliver, o Wrecsam, yn y rhan gyntaf o'r ganrif hon. Dichon fod y D. Oliver hwnw yn deilliaw o'r Oliferiaid, y rhai a argraffasant agos holl weithiau efengylydd Llanddowror.

19. 'Canwyll y Cymru, sef gwaith Mr. Rees Prichard, gynt Ficer Llanddyfri, y trydydd argraphiad ar ddeg.

Argraphwyd yn y Mwythig gan Stafford Prys. 1766.'

Gelwir hwn yn drydydd argraffiad ar ddeg; ond ni chafwyd eto ond naw o honynt, oddi eithr y Pigion a gyhoeddwyd ddwywaith.* Y mae iddo wyneb-ddalen Seisoneg hefyd.

20. 'Salmau Dafydd, wedi eu cyfansoddi yn ol iaith y Testament Newydd. A'u cymhwyso i stât ac Addoliad Crist'nogol. Yn Saesneg gan I. Watts, D.D. Ac a gyfieithwyd i'r Gymraeg gan D. Jones o Lanwrda, gynt o Gayo. Yr ail argraphiad,† gyda diwygiad o lawer o feiau. At ba un y chwanegwyd 12 o Salmau newyddion.

Llanymddyfri, argraphwyd gan Rys Tomas. MDCCLXVI.'

21. ¶ 'Amddiffyniad i Lyfr cyntaf Mr. Thomas ar Arddodiad Dwylaw.'‡

22. 'Llythyr oddiwrth Gymmanfa o Weinidogion, at yr amryw Eglwysi, i ba rai y maent yn perthynu.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Ross, yn Heol Awst, 1766.'

23. 'Y Catecism Byrraf. A gyflwynwyd gan y Gymanfa o Difynyddion, yn Westminster, i'r ddau dŷ o Barliament, a chwedi ei gymmeradwyo ganthynt. Yn cynnwys Egwyddorion y Grefydd Grist'-nogol, ynghyd â Phrofiadau Ysgrythyrol.

Caerfyrddin, Argraphwyd, ac ar werth gan J. Ross, yn Heol Awst. 1766. [Pris Dwy Geiniog, neu 2s. 6d. y Cant.]'

Y mae i'r llyfryn hwn ragymadrodd helaeth a chywrain, yn gwrth-wynebu golygiadau Sandeman a Popkin (yng Nghymru), wedi ei arwyddo 'John Griffith, *Pant Saeson*, Mai 12. 1766.'

24. 'Hanes Llwyddiant yr Efengyl, a rhyfeddol waith Duw ar Eneidiau pobl yn North America; mewn Llythyr oddiwrth y Parchedig Mr. Briel o East Hampton, at y Parchedig Mr. Barton. At yr hyn y chwanegwyd Cân am Werthfawrogrwydd y Bibl. Gan William Williams.

Caerfyrddin, argraphwyd tros yr awdwr, gan J. Ross. 1766.'

* Gwel rhif 1, d.f. 1646; rhif 2, d.f. 1670; rhif 6, d.f. 1672; rhif 1, d.f. 1681; rhif 12, d.f. 1714; rhif 1, d.f. 1721; rhif 6, d.f. 1727; rhif 14, d.f. 1740; a hwn yma.

† Gwel rhif 2, d.f. 1753.

‡ Gwel rhif 9, d.f. 1764; a rhif 12 a 14, d.f. 1765.

25. 'Rhwymyn Perffeithrwydd, neu Frawdgarwch Parhaus; Wedi cael ei drîn yn ffyddlon gan Timothy Thomas, Gweinidog yr Efengyl yn Aberduar, swydd Gaerfyrddin, Awdwr y "Wisg Wen."

Caerfyrddin, Argraphwyd tros yr Awdwr gan J. Ross. 1766.'

Cynnwysa y llyfr hwn 112 o dudalenau.

26. 'Gwaedd yng Nghymru yn wyneb pob Cydwybod. Gan Morgan Lloyd o Wynedd. At yr hyn y rhagchwanegwyd ei Lythyr i'r Cymru cariadus. Ynghyd a Hanes ei Fywyd ysbrydol a ysgrifenwyd ganddo ei hun.

Caerfyrddin, argraphwyd gan J. Ross, yn Heol Awst. 1766. [Pris dwy geiniog.]'

Ymddengys fod hwn yn bedwerydd argraffiad.* Golygydd yr argraffiad hwn ydoedd y Parch T. Williams, Mynydd Bach.†

27. 'Y Cristion mewn Gwirionedd. Wedi ei osod allan mewn Llythyr oddiwrth Gaiffer at Aly-ben-hayton. Yr hyn a wyddom yr ydym yn ei lefaru. Wedi ei gyfieithu allan o'r Saesoneg.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Ross, yn Heol-Awst. 1766.' 24 tudalen 12plyg.

28. ¶ 'Interesting Family Papers printed for Lady Mary Herbert and Arthur Lord Herbert, of Chirbury (Earl Powis) concerning the disposal of the Family Estates at Oswestry, Salop, and in Montgomery, Radnor, and Carmarthen.'

Y mae iddo attodiadau, yn rhoddi tystiolaethau y tystion. Argraffwyd yn anghyhoedd, i ddybenion cyfreithiol, 1766.

29. 'Private Act of Parliament introduced and passed to enable Thos. Kymmer to make a Canal from Little Gwendraeth River, near the Town of Kidwelly, to the Great Forest and Pwll Llygod.

Carmarthen 1766.'

30. 'Particulars of the Manor of Dolgelley, with the Freehold Estates of Hugh Vaughan, Esq., the Seat called Hengwrt. 1766.'

Gwnaed y 'Particulars' pan oedd yr etifeddiaeth ar werth y flwyddyn uchod.

31. ¶ 'An Essay on the 34 Coins of Cunobelin [Cynfelyn] King of Britain, A.D. 15. Wherein this noble set of Coins is classed, and appropriated to our British King upon rational grounds. The coins are illustrated, in a short commentary, By Samuel Pegge, A.M. 1766.'

* Gwel rhif 10, d.f. 1653; rhif 1, d.f. 1739; rhif 1, d.f. 1750; a hwn yma.

† Gwel rhif 3, d.f. 1724; a rhif 6, d.f. 1727.

[Bu y Dr. SAMUEL PEGGE yn ymohebu twysged â Lewis Morys mewn perthynas i hynafiaethau Prydeinig, ac y mae amryw o lythyrau Lewis Morys ato ef wedi ei hargraffu yn y gyfrol gyntaf o'r *Cambrian Register*. Ganwyd ef yn Chesterffield yn 1704, a gorphenodd ei addysgiaeth yng Ngholeg St. Ioan, Caergrawnt. Yn 1731 cyflwynwyd ef i fywoliaeth Godmersham, yng Nghaint, ac yn 1751 i Whittington, yn swydd Stafford. Ei brif weithiau, heb law yr un a grybwyllir yma, ydyw, 'Dissertations on Anglo-Saxon Remains;' 'The Life of Robert Grossetete, Bishop of Lincoln;' ac 'Anonymiana.' Bu farw yn 1796. Mab iddo ef oedd Samuel Pegge, awdwr y 'Cunialia,' ac 'Anecdotes of the English Language,' yr hwn a fu farw yn 1800; ac ŵyr iddo ydoedd Syr Christopher Pegge, D.M., Cadeirdraw Meddyginiaeth ym Mhrifysgol Rhydychain, yr hwn a fu farw yn 1825.]

## 1767.

1. 'Crocodil Afon yr Aipht, Wedi ei weled ar fynydd Seion, sef Cenfigen wedi ei olrhain trwy'r Byd a'r Eglwys. Gan W. Williams.

Caerfyrddin, argraphwyd dros yr awdwr gan J. Ross. 1767.'

2. 'Yr Aberth Cymmeradwy: neu, Ragoriaeth Calon Ddrylliog. Yn dangos Natur, Arwyddion, ac Effeithiau priodol Ysbryd Drylliedig. Gan y Gwâs enwog hwnw o eiddo Crist Mr. John Bunyan.

Caerfyrddin: Argraphwyd gan J. Ross, yn Heol Awst. MDCCLXVII. [Pris chwe' cheiniog.]' 100 tudalen 12plyg.

3. 'Atteb i Lyfr Mr. Edward Hitchin, a elwir, Achos Babanod yn cael ei ddadleu, ei eglurhau, a'i amddiffyn, &c. Gan y diweddar Barchedig Mr. Samuel Ewer, o Hamstead, ger llaw Llundain. Wedi ei gyfieithu gan Josuah Thomas.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Ross, yn Heol Awst, 1767. [Pris swllt.]'* 268 tudalen 12plyg.

4. 'Hymnau; neu Ganiadau, er Mawl a Gogoniant i Dduw. Yn cynnwys Ocheneidiau, Gryddfanau, Ymdrechiadau, a Byddygoliaethau, y Pererinion; wrth ymdeithio tu'r Bywyd. Gan John Roberts.†

Caerlleon: argraphwyd gan J. Harvie. M,DCC,LXVII.'

5. 'Tyred a Chroesaw at Iesu Grist. Sef Ymddiddan rhwng yr Iesu a'r Publican. Yr hyn sydd er addysg a chysur i'r Cristion gwan.‡ Y trydydd argraphiad.

Caerlluon: Argraphwyd gan Ioan Harfie, tros Peter Morris. 1767.'

6. ¶ 'Annogaeth i Bobl Ieuangc cyn dyfod i'w Conffirmio. Gan y Gymdeithas er Lledaenu Gwybodaeth Gristionogol. Pris 2d.'

* Gwel rhif 7, d.f. 1766. Darfu i Mr. Thomas, heb law cyfieithu, chwanegu hefyd rywfaint ato.—*Hanes y Bedyddwyr*, gan J. Thomas, t. 409.

† Sef Sion Rhobert Lewis, Almanaciwr Caergybi; gwel rhif 12, d.f. 1760.

‡ Gwel rhif 14, d.f. 1766.

7. 'Helaethrwydd o Ras, i'r Pennaf o Bechaduriaid. Sef Cywyr Hanes o Fywyd a Marwolaeth Ioan Bunian: neu Fyrr Ddatcuddiad o Ragorol Drugaredd Duw iddo êf, yn enwedigol, yn ei gymeryd êf o'r dommen, a'i ddychwelyd i Ffŷdd ei Fendigedig Fâb, Iesu Grist. Lle danghosir hefyd yn neillduol, pa Olwg ar, a pha Ofid am Bechod a gafodd; hefyd, pa amrywiol Brofedigaethau a'i cyfarfu, a pha fodd y dygodd Duw ef trwyddynt oll. Wedi ei gyfieithu o newydd gan Ifan Tomas, Argraphydd.

Caerlleon: argraphwyd gan Ioan Harfie, tros Bedr Morus o Lanrwst. 1767. Pris swllt.' [16plyg.]

Y mae yn ei ragflaenu lythyr o eiddo 'Ifan Thomas' at y darllenydd. Y mae yn llyfr bychan tlws o 162 tudalen 18plyg. Ymddengys fod hwn yn bedwarydd argraffiad o hono.* Argraffwyd ef hefyd gan T. Williams, yn Nolgellau, yn 1803.

8. 'Rhyfeddod y Rhyfeddodau, neu y Gair a wnaethpwyd yn Gnawd. Wedi ei osod allan mewn Cân Dduwiol. Gan William Robert. Aelod o'rEglwys sy'n ymgynnull gerllaw y Felin, ymhlwyf Llanelli, yn sir Gaerfyrddin.

Llanymddyfri: argraphwyd gan Rees Thomas. 1767.'

9. 'Remains of Japhet: being Historical Enquiries into the Affinity and Origin of the European Languages. By James Parsons, M.D. Member of the College of Physicians, and Fellow of the Royal and Antiquary Societies of London.

London: printed for the Author. M,DCC,LXVII.'

[James Parsons, meddyg enwog ac ysgrifenydd cyfrifol, a anwyd yn Barnstapl, Dyfnaint, yn y fl. 1705, ac a fu farw yn 1770. Y mae meddyginiaeth, difyniaeth, hanes anianol, a hynafiaethau yn ddyledus i'w fedr a'i ddiwydrwydd am ddarganfod llawer o wirioneddau pwysig yn dwyn cyssylltiad â hwynt, Cynnwys y gwaith hwn o'r eiddo dros bedwar cant a hanner o dudalenau 4plyg; ac ym mhlith pethau ereill y mae ynddo Daflen o Eiriau Gwyddeleg a Chymraeg, lle y dangosir eu perthynas â'u gilydd, er bod cryn wahaniaeth rhyngddynt o ran ymddangosiad.]

10. 'Agoriad i Athrawiaeth y Ddau Gyfammod, dan yr enwau Deddf a Gras; yn dangos Natur pob un o honynt, pa beth ydynt fel y maent yn ddau Gyfammod: Hefyd, pwy, a pha beth yw Cyflyrau y rhai sydd dan bob un o honynt, &c. Gan y gwas enwog hwnw o eiddo Crist Mr. John Bunyan.

Caerfyrddin: Argraphwyd gan J. Ross, yn Heol Awst. 1767. [Pris swllt.]' [12plyg: 242 tudalen.]

Dywedir i Edward Parry, o'r Bryn Bygad, yn sir Ddinbych,

* Gwel rhif 6, d.f. 1737; rhif 8, d.f. 1763; rhif 15, d.f. 1766; a hwn yma.

gyfieithu y 'Traethawd ar y Ddau Gyfammod,' trwy gynnorthwy Dafydd James, athraw ysgol yn Llansannan, un o athrawon Ysgolion Symmudol Mr. Jones, Llanddowror, mae yn debyg.*

11. 'Myfyrdodau Difrifol ar y Pedwar Peth diweddaf: sef Angau, Barn, Nef, ac Uffern. Gan y Gwâs enwog hwnw o eiddo Crist Mr. John Bunyan.

Caerfyrddin: Argraphwyd gan J. Ross, yn Heol-Awst. M,DCC,LXVII. [Pris tair Ceiniog.]'

Yr oedd hwn yn ail argraffiad.†

12. 'Barnedigaethau ofnadwy Duw ar Blant Creulawn, drwg ac anufudd i'w Rhieni. Wedi ei gyfieithu i'r Cymry. Gan Ifan Thomas.

Caerfyrddin: Argraphwyd gan J. Ross, tros Lewis Jones. 1767.'

13. 'Rhybudd teg mewn pryd da; sef Dadlau Pechaduriaid gwedi eu gostegu trwy fuddugoliaethau y gwirionedd. Mewn Ymddiddanion rhwng Gweinidog o Eglwys Loegr, ag amryw Bechaduriaid, sef Meddwyn, Tafarnwr, Bragwr, Coegddigrifwr, Cerddwr, Dawnsiwr, Tyngwr, Celwyddwr, a'r Twyllwr. Gan Rhys Rhydderch.‡

Caerlleon: argraffwyd gan Joan Harfie, tros B. Morris. 1767.'

14. 'Gweledigaethau y Bardd Cwsg. Yn cynnwys, I. Gweledigaeth Cwrs y Byd. II. Gweledigaeth Angeu. III. Gweledigaeth Uffern. Y Rhan Gyntaf.

Caerfyrddin: Argraffwyd gan J. Ross, yn Heol-Awst. M.DCC.LXVII.'

Yr oedd hwn y trydydd argraffiad.§ [12plyg.]

[Y pedwerydd argraffiad ydyw hwn. Ymddangosodd yr argraffiadau ereill yn 1703, 1755, a 1759. Ar ol yr amseriad, chwanegir :—'Lle y gellir cael y Llyfrau rhagorol hyn sydd yn canlyn,

Agoriad i Athrawiaeth y ddau Gyfammod, dan yr Enw Deddf a Gras. Pris Swllt.

II. Myfyrdodau ar y Pedwar Peth diweddaf: sef, Angeu, Barn, Nef, ac Uffern, ar Fesur Cerdd. Pris 3c.

III. Yr Aberth Cymmeradwy: Neu, Ragoriaeth Calon ddrylliog. Yn dangos Natur, Arwyddion, ac Effeithiau priodol Ysbryd drylliedig. Pris 6c.

Y tri uchod gan Mr. John Bunyan.

IV. Gogoneddus ddirgelwch Trugaredd Duw; neu werthfawr Feddyginiaeth i Eneidiau lluddedig, &c. Pris 9c. Gan Mr. John Bisco.

V. Crist ym Mreichiau'r Credadyn, gan Mr. Ebeneezer Erskine: A Dadl Ffydd ar Air a Chyfammod Duw, gan Mr. Ralph Erskine. Pris 6c.

VI. Gwaedd yng Nghymru, gan Mor. Lloyd, Pris 2g.

VII. Catecism byrraf y Gymmanfa, Pris 2g.'

Hyna oll, air a llythyren, yng nghysswllt ag argraffeb y rhagddalen!]

* *Goleuad Cymru.*

† Gwel rhif 17, d.f. 1766.

‡ Gwel rhif 6, d.f. 1714.

§ Gwel rhif 6, d.f. 1703; rhif 6, d.f. 1720; a hwn yma.

15. 'Llyfr Ecclesiastes: neu'r Pregethwr, Wedi ei gyfansoddi ar fesur Cywydd. Gan Edward Evan, o Aberdâr a Lewis Hopkin, o Lynogwr, yn Sir Forganwg.

Bristol: Argraphwyd gan S. Farley. 1767.'

Y mae llythyr 'At y Darllenydd' iddo gan y Parch. Edward Evan,* yr hwn a ddywed:—

'Dygwyddodd i wr Ieuangc o Sir Aberteifi a'i enw Dafydd Thomas, ddyfod i wared i Forganwg o ddeutu'r Flwyddyn 1727. Un ydoedd o berchen cynheddfau naturiol cryfion; a chwedi cael cyfran weddol o fawnteision gwybodaeth. Efe a dderbyniwyd yn Aelod i Gynnulleidfa'r Parchedig Rhys Prys, 'or Ty'n Tonn.† Yr oedd ganddo Dalent o Awen, a rhwyddineb ymmadrodd. Efe a ymosododd i ddysgu Rheolau Grammadeg o iawn ysgrifenyddiaeth o ddeutu'r Flwyddyn, 1730: ac a ddaeth yn gryn gyfarwydd a dych'mygfawr mewn Barddoniaeth Gymreig—Efe a briododd; ond ni chafodd ef nemmor o hyfrydwch oddiwrth y cyflwr hyny Ei ddyddiau diweddaf a dreuliodd gyda Dafydd Martin yn Ystrad Tyfodwg. Efe a orphennodd ei yrfa yn y Flwyddyn, 1735; ac wrth chwilio ac edrych ar ei yscrifeniadau ef, mi gefais y Bennod gyntaf o Lyfr y Pregethwr, wedi ei chyfansoddi ar fesur cywydd; yr hyn a'm cynhyrfodd i ofyn cynnorthwy Lewys Hopkin, i orphen a chyflawnu Bwriad, yr hwn oedd wedi ei attal gan farwolaeth.'

Gwelir fod y llyfr bychan tlws hwn, yr hwn a gynnwys 50 o dudalenau 32plyg, yn waith tri awdwr. Y bennod i. gan y D. Thomas uchod; pen. ii. v. vii. ix. a xi. gan Mr. E. Evan; a'r pen. iii. iv. vi. viii. x. xii. ac 'Englynion at y Cymry,' gan

Lewis neu Lewys Hopkin, yr hwn oedd frodor o Hendref Ifan Goch, ym mhlwyf Glynogwr, yn sir Forganwg. Cyhoeddwyd llyfr o'i weithiau a adawodd ar ei ol, yn cynnwys ei weithiau ef, a lluaws o weithiau rhai ereill o feirdd y Deheudir, o'r enw *Fel Gafod*, gan John Miles, o Bencoed, Llanilid, Morganwg.

16. 'Llythyr oddiwrth Gymmanfa o Weinidogion, at yr amryw Eglwysi; i ba rai y maent yn perthynu.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Ross, yn Heol Awst. 1767.'

17. 'Cyfiawnhad Pechadur, Neu fod yr Etholedigion wedi eu Cyfiawnhau, a'u rhyddhau oddiwrth gosp pechod trwy Grist: Pan ddygodd Gospedigaeth ein Heddwch ni ar y Pren, &c. Gan Samuel Richardson.

Llanymddyfri: Argraphwyd gan Rhys ap Tomas. 1767.'

* Gwel rhif 5, d.f. 1767.

† Rhys Prys, neu Rees Price, ydoedd weinidog y gynnulleidfa o Ymneillduwyr Presbyteraidd yn Ty'n Ton, ger Pen y Bont ar Ogwyr, yn sir Forganwg, brawd y Parch. Samuel Price, a thad i Thomas Price, o Lundain. Cafodd ei ddysgeidiaeth yn Attercliff, sir Iorc, o dan Mr. Jollie. Sosiniaeth a bregethir yn awr yno.—*Ysgrifau* yn Llyfrfa y Dr. Williams, yn Llundain.

18. 'Pumtheng Araith ar Amryw Destynau a Osodwyd allan mewn Cymdeithas gyhoedd wrth Arwydd-arf y Frenhines, yn Heol y Porth newŷdd, yn Llundain. Gan J. Wetherall. Wedi ei Gyfiaethu er Llês i'r Cymru: Gan y Parchedig Mr. D. Rowland; Gweinidog yr Efengyl yn Llangeitho.

Argraphwyd yng Nghaerfyrddin, gan Rhys Tomas yn Heol Awst. 1767.'*

19. 'An Experimental and Practical Enquiry into the Ophthalmic, Antiscrophulous, and Nervous Properties of the Mineral Waters of Llangybi, in Carnarvonshire. To which is annexed, An Essay on the Prize Question, proposed by the Royal Academy of Bourdeaux, for the year 1767, on the Subject of Analizing Mineral Waters. By Diederick Wessel Linden, M.D.

London: Printed by J. Everingham; and sold by C. Morgan, under the Piazza, Covent-garden; W. Williams, Bookseller, in Shrewsbury; J. Bulkeley, Bookseller, in Chester; P. Titley, Apothecary, in Llanrwst; H. Jones, Mercer, in Carnarvon; and R. Griffith, Mercr, in Pwllhely, 1767. [Price Two Shillings.]'

Cyflwynir y gwaith i 'William Price, Esq; of Rhiwlas in Merionethshire, Fellow of the Royal and Antiquarian Societies;' a thanysgrifir y llythyr cyflwyniadol fel hyn:—'D. W. Linden. April 20. 1767. Llangybi,'—Cynnwys y rhan o'r gwaith sydd yn dwyn cyssylltiad â Ffynnon Llangybi 66 o dudalenau. Y mae y llyfr a'r ffynnon a ddarlunir ynddo, yn teilyngu llawer mwy o sylw nag y mae yr olaf wedi ei gael er ys oesoedd. Bernir fod rhinweddau y ffynnon yn gyfartal i rinweddau ffynnonau Maesyfed a Brycheiniog; a phe na buasai wedi bod mor anffodus a tharddu yng Nghymru, diammheu y buasai ei rhagoroldeb heddyw yn hysbys i'r rhan fwyaf o wledydd Ewrop.†

20. ¶ 'Taith y Pererin, gan John Bunyan. Yr ail Ran. O Gyfieithiad John Edwards o Glynn Ceiriog.

Mwythig.'

21. 'Golwg ar Ddull y Byd hwn yn myned heibio, a Thragwyddoldeb o Happusrwydd yn nessau, i holl Waredigion Seion; sef, Perffaith Ryddhad i'r Carcharorion gobeithiol; neu ddedwydd Fynediad Priodas-ferch yr Oen i Dragwyddol Deyrnas ei Harglwydd a'i Hachubwr Jesu Grist.

Caerfyrddin, Argraphwyd tros yr Awdwr gan J. Ross. 1767. [Pris Dwy Geiniog.]'

Cynnwysa 36 tudalen 24plyg. Nid oes enw awdwr ar yr wyneb-

* [Onid oedd Rhys Tomas wedi ymadael o Gaerfyrddin cyn y flwyddyn hon, ac ymsefydlu yn Llanymddyfri ?]

† *Ysgrif* y Parch. D. S. Evans.

ddalen, eithr yn gyssylltiol â'r hymn ddiweddaf dywedir:—'Hyn yn fyr (ac fe allai'r diweddaf) oddiwrth eich cyd-bererin i'r byd arall, Morgan Rhys.'

22. 'Considerations on the Illegality of Presenting Such as are Unacquainted with the Welsh or British Language to Ecclesiastical Benefices in those Parts of Wales where that Language is in general Use and Understood. By a Gentleman of Wales.

London: Printed for W. Harris, N° 70, the North side of St. Paul's Church-yard; And sold by H. Jones, at Caereinion, North Wales. MDCCLXVII.' [8vo.]

Y mae nodyn mewn llawysgrif yn yr un a welais yn dywedyd mai yr awdwr ydoedd 'John Jones, M.A. Fellow of Queen's College, Rhydychain.'*

23. 'Traethawd ar Fywyd Ffydd, Gan W. Romaine, M.A. Periglor y Fonach ddu (Black Fryars,) a Lecturer St. Dunstan's, yn Llundain. A Gyfieithwyd gan Joan Tomas, trwy ganiatad yr Awdwr.

Liverpool: Argraphwyd yn Heol y Morfa, M,DCC,LXVII.'

24. ['Anfeidrol werthfawrogrydd Enaid Dyn, ac Anrhaethadwy Ffolineb y Dyn a f'o Di-ofal am dano. Ynghyd ag Annogaeth Ddifrifol i Bechaduriaid droi at Dduw, a derbyn Iechydwriaeth yw Heneidiau. Gan Ifan Tomas, Argraffydd.

Caerlluon: Argraphwyd gan Ioan Harfie, yn Heol porth y Gogledd. 1767.' 12plyg: 16 tudalen.

Yr wyf yn tybied mai yr un yw y llyfr hwn â rhif 12, d.f. 1766, ac nad ymddangosodd un argraffiad o hono y flwyddyn hòno. Y mae y flwyddyn 1767 ar argraffeb hwn.]

25. 'Meddyliau Presennol Mr. Samuel Pike, ar Gatecism byrraf y Gymmanfa, mewn Llythyr at Gyfaill, ag y bu Rhagymadrodd Mr. John Griffith at ei Argraphiad Newydd o'r Catecism hwnnw, yn achlysur o honno. Wedi ei gyhoeddi yn Gymraeg, gan John Popkin.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Ross yn Heol-Awst. 1767.'

26. 'Dihuniad Cysgadur. Sef, Y Bardd Cwsg, yr ail rhann Yn dangos mewn Breuddwyd Gweledigaeth Ryfeddol y Bardd Cwsg; A'r ymddiddan a fu rhyngddo efe a Chydwybod, Ffydd, Gobaith, Cariad, Gwirionedd, Gostyngeiddrwydd, Gonestrwydd, Sobrwydd, Haelioni, Cywirdeb, Gwirionedd, &c. Ynghylch Llygredd y Byd,

* [Am rai tybiau o barthed i awdwr y llyfr hwn, gweler y *Brython*, iii. 370, 433; a chymharer rhif 23, d.f. 1768.]

ynghyd ag ychydig Annogaeth yn erbyn Swyngyfaredd, Dewiniaeth, a'r Cyffelyb.

Argraphwyd yn y Mwythig gan Stafford Prys, tros Dafydd Gryffydd, 1767.'

Ail argraffiad, gwel rhif 3, d.f. 1723-4.

27. ¶ ['Jechydwriaeth wrth y Drws: neu Groch lef o'r Nef ar Bechaduriaid diadgenedledig ar y Ddaear, &c. At ba un y chwanegwyd Hymn-Gynghor, ar Col. iii. 2, gyda Phregeth fer ar Dad. iii. 20.

Argraphwyd yn y Mwythig gan Stafford Prys, tros Hugh Evans.'

Wyth tudalen ydyw, ac y mae yr englyn canlynol ar yr wyneb-ddalen :—

'Prynwch, darllenwch, boed llês—o'r llyfr,
Mae'r llafur yn gynhes ;
Hyd fy eithaf cyfieithes,
Yn y geiriau gorau ge's.'*]

## 1768.

1. 'Cyfarwyddyd i Weddio, (A Drefnwyd i Esgobaeth Baddon). Gan y Gwîr Barchedig Dad yn Nuw Thomas Kenn.

Llundain: Argraphwyd gan J. a W. Olfir, ym Martholomey-Clôs; ger llaw Smithfield Gorllewinol. MDCCLVIII.'

Cyhoeddwyd hwn ar draul y 'Gymdeithas er Taenu Gwybodaeth Gristionogol;' a gwerthid ef am 5*c.* i'r aelodau. Yr awdwr,—
THOMAS KEN neu KENN, a anwyd yn Berkhamstead, yn sir Hertfford, yn 1637. Daeth yn gapelwr i Siarl II; ac wedi hyny yn esgob Bath a Wells. Gwrthwynebodd Iago II. i ddwyn Pabyddiaeth i mewn i'r deyrnas; ac yr oedd yn un o'r saith esgob a garcharwyd yn y Tŵr, am wrthwynebu y teyrn hwnw. Yr oedd yn awdwr pregethau, prydyddiaeth, &c., y rhai a gyhoeddwyd gan ei nai, gyda'i hanes, yn 4 cyfrol. Bu farw 1711, yn 74 oed.†

2. ¶ 'Trefn am Dduwioldeb ar Ddydd yr Arglwydd, cymmwysedig i'r rhai gwaelaf eu deall. Gan Wm. Asheton, D.D. Person Beckenham, yn-nghent, a gyfieithwyd gan R. Lloyd, Person Hurnant.

Argraphwyd yn y Mwythig.'

Yr oedd hwn yn ail argraffiad, tybygid,‡ ym mhen deng mlynedd a thrigain ar ol yr argraffiad cyntaf. Cafodd yr awdwr,—
WILLIAM ASHTON, ei ddysgeidiaeth yng Ngholeg *Brasenose*, Rhydychain, lle y cyrhaeddodd ei B.C. ar Ebrill 11, 1662.§ Am y cyfieithydd,

* *Llythyr* Mr. Morris Davies.

† Maunder's *Biographical Treasury.*

‡ Gwel rhif 4, d.f. 1698.

§ Wood's *Athen. Oxon.* vol. ii. pp. 215-823.

R. Lloyd, A.C., nid oes hanes ar gael. Nid oes beddfaen iddo yn Hirnant, ac ni wyddys pa un ai yno, ai yn rhyw le arall y claddwyd ef; ac nid oes dim son am dano yn y Coflyfr Eglwysig amgen nag a ganlyn:—'1730. A memorable year, wherein I am oppressed and injured by certain persons, whom I freely forgive. However I made of this Parish this y^e 4 Score pounds. All Glory to God alone. R. Lloyd.'* Ymddengys iddo gael y lle hwn gan yr Esgob Wynn, yn 1717, ac ei fod yn dra hen pan ysgrifenodd yr uchod, ac ei fod hefyd yn berson Eglwys Fach Glan Conwy.†

3. 'Oes Lyfr. Yn dair rhan. Yn cynnwys i. Côf Lyfr ysgrythyr-ol. ii. Am Frenhinoedd y Brutaniaid, a Thywysogion Cymru. iii. Am Frenhinoedd a Brenhinesau Lloegr er y Concwest, i deyrnasiad Sior iii. Yn rhoddi hanes am y pethau mwyaf rhyfeddol a ddigwydd-odd yn eu Teyrnasiad hwynt; sef Rhyfeloedd, Plâ, a Heintiau, Daear-grynfeydd, Mellt a Tharannau dychrynllyd, Llifogydd mawr-ion, Tân yn anrheithio Trefydd ac Eglwysydd, ac amryw Bethau eraill, na buont yn argraphedig o'r blaen yn Gymraeg. Gwedi eu casglu allan o'r Awdwyr goreu â ysgrifenasant ar y Testynau hynny, Gan Thomas Williams.

Argraphwyd gan J. Ross, yng-Nghaerfyrddin. MDCCLXVIII. [Pris chwe' cheiniog.]'

Ail argraffiad ydoedd hwn.‡ Y mae y rhagymadrodd wedi ei amseru, 'O'm llyfrgell ar y Mynydd bach, yn Llandeilo fawr, Awst 18. 1768.'

4. 'Y Credadyn Bucheddol: Neu Fannau Credo'r Apostolion. Wedi eu gosod allan yn gymmwys i hyweddu pob Dyn i Fuchedd Dduwiol a Christianogol. Yn Ddwy Ran. A ysgrifenwyd yn Sais-neg, Gan y Parchedig Mr John Kettlewell, Ficar Coles-Hill, yn Sir-Warwic, ynghylch y Flwyddyn 1689. Ac a gyfieithiwyd o'r trydydd Argraphiad Seisnig, Gan Risiart ap Robert, Athraw Ysgol Llanrhaiadr yng Nghinmerch, yn Sir Ddinbych, yn y Flwydd-yn 1763.

Llundain; Argraphwyd gan Sion a Wiliam Olifer, yn Bartholomew-Close. MDCCLXVIII.' [8plyg: 394+20=414 tudalen.]

John Kettlewell a anwyd yn North Allerton, sir Iorc, Mawrth 10, 1653. Cafodd elfenau ei ddysgeidiaeth yn ysgol rad y dref hòno, a'i anfon i Rydychain yn 1670, pan yn 17 oed. Cafodd gymmrodiaeth yng Ngholeg Lincoln, a chapeliaeth Iarlles Bedfford; ac yn 1685, pan yn 29 oed, cafodd ficeriaeth Coleshill, yn sir Warwig. Pan ddaeth

* *Llythyr* y Parch. T. Rowland, Person Pennant Melangell.

† Edwards's Willis's *St. Asaph.*

‡ Gwel rhif 4, d.f. 1724.

William III. i'r orsedd, efe a wrthododd gymmeryd llw o ymostyngiad iddo ef a Mari, am yr hyn y cymmerwyd ei fywoliaeth oddi arno, pryd y daeth i Lundain, ac yr ymgymmerodd â llenoriaeth. Yr oedd yn Iacobydd diysgog. Bu Nelson yn llawer o gymhorth iddo yn ei adfyd, yr hwn oedd yntau yn Iacobydd; ond, fel gwrthddrych ein sylw, yn ddyn da, a diarebol o haelionus.* Casglwyd ac argraffwyd ei waith yn 1718, yn 4 cyfrol unplyg. Bu farw Ebrill 15, 1695, yn 42 oed.†

[Y mae 'Y Credadyn Bucheddol' yn well ac yn gywirach gwaith na'r rhan amlaf o lyfrau yr oes yr ymddangosodd ynddi. Cydnebydd y cyfieithydd ei rwymedigaethau am gynnorthwyon yn ei orchwyl i'r Parch. W. Wynn, Ieuan Brydydd Hir, a Rhisiart Morys, yr hwn a'i golygodd trwy y wasg. Dywed y Prydydd Hir, mewn llythyr at Risiart Morys, dyddiedig Meh. 28, 1767, iddo ef gymmeryd cryn drafferth gyda'r cyfieithiad, a chyfnewid a diwygio cryn lawer arno, er nad oedd yn y diwedd yn gwbl wrth ei fodd.]

5. ¶ 'Catechism o'r Ysgrythyr, yn nhrefn Gwyr y Gymmanfa, a 'sgrifenwyd gan y Parch. Mathew Henry. Yn Gymraeg i ddangos i'r Cymro un-jaith, I. Y Pethau a ddylau efe gredu. II. Y dyledswyddau a ddylau ei cyflawni tuag at Dduw a dynion. III. Y Cyfryngau neu'r moddion a ddylau efe eu Harfer. VI. Y Pethau a ddylai efe ei Gofyn gan Dduw mewn Gweddi, a hyny allan o air Duw ei hun. Wedi ei Gyfieithu gan Iago ab Dewi.

Yr ail argraphiad. Yng-nghaerfyrddin.'

Yr oedd hwn mewn gwirionedd yn bedwerydd argraffiad, tybygid, ac yn drydydd o gyfieithiad Iago ab Dewi.‡

6. 'Taith y Pererin tan Rith Breuddwyd.

A Gwir Freuddwyd Ysprydol,
Nid Rhith ond Sylweddol.

Yn yr hwn y dangosir, Cychwyniad llaweroedd ar Bererindod allan o Ddyffryn y Distryw tua Mynydd Sion, ond o'ch eu maent yn y Nôs yn gwrthgilio'n finteoedd i'w hên gartref, Etto fe gafodd rhai nerth i fyned yn eu blaen, ac a gyraeddasant ben eu Taith, a hynny gyda llawer Dramgwyddiadau ar hyd y ffordd. Y Drydedd Rann. O Waith John Bunyan. A Gyfieithwyd gan John Edwards, yng Nglynn Ceiriog, allan or 27 yn Saesonaeg.

Caerlleon: Argraphwyd gan Joan Harfie, tros Ddafydd Llwyd, o'r Bala. 1768.'

Dyma drydydd argraffiad, a chyfieithiad newydd.§ Y cyfieithydd,

* Gwel rhif 6, d.f. 1711; a rhif 4, d.f. 1712.

† W. Jones's *Christian Biography*; Wood's *Athen. Oxon.* vol. ii. pp. 867, 868.

‡ Gwel rhif 2, d.f. 1708; rhif 5, d.f. 1717; rhif 7, d.f. 1743; a hwn yma.

§ Gwel rhif 2, d.f. 1688; rhif 1, d.f. 1699; a hwn yma.

John Edwards, neu fel ei llysenwid, 'Sion y Potiau,' a anwyd tua'r flwyddyn 1700, yng Nglyn Ceiriog, yn sir Ddinbych. Gwëydd ydoedd wrth ei alwedigaeth, ac am hyny a elwid gan yr hen bobl, 'Sion y Gwëydd.' Yr oedd ei drigfa uwch law eglwys Llan Sant Ffraid Glyn Ceiriog, lle cryno, a'r gerddi wedi eu hamgylchu â choed bocs, ac ywen wedi ei thrwsio i lun ceiliog y coed, ac adarwr yn yr ywen arall yn cyfeirio dryll at y ceiliog. Dywedir iddo adael ei deulu, a bod saith mlynedd yng ngwasanaeth llyfrwerthwr yn Llundain, ac felly y cyrhaeddodd yr ychydig ddysg a gwybodaeth oedd ganddo yn fwy na'r cyffredin. Y pryd hyn canodd Jonathan Hughes iddo broest, a'r llinellau hyn ynddo,—

'Brawd doeth fardd, bryd doi i'th fwth?
Briw ydyw i'th fun briodi'th fath.'

Yr oedd yn brydydd lle dda, ac yn deall y mesurau caethion yn weddol, fel y profa ei Awdl i Eglwys Llangollen. Yr oedd iddo ddau fab, o'r enw Cain ac Abel, am y rhai y dywedai y rhigymwyr,

'Cain ac Abel, cŷn ac ebill,
Abel a Chain, ebill a chŷn.'

Mab i'r Abel hwnw oedd y Parch. Abel Jones, diweddar weinidog y Bedyddwyr ym Merthyr Tydfil. Bu Cain yn cyhoeddi Almanaciau am flynyddoedd, ac yr oedd yn aelod a blaenor y canu gyda'r Bedyddwyr yn y Glyn, a mab i hwnw oedd Sion Cain Jones, y prydydd, a fu farw yn 1826; ac yr oedd merch i hwnw, gorwyres i John Edwards, o'r enw Leah Evans, yn brydyddes awenyddol, yng Nglyn Ceiriog. Cafodd J. E. hefyd fab ordderch yn ei henaint, yr hwn a alwodd Pilat, a bu yn aelod gyda'r Wesleyaid tuag Abergele. Ymddengys nad oedd J. E. mor bleidiol i'r Bedyddwyr a'i ddisgynyddion; canys dywedir iddo rigymu gogan iddynt pan oeddynt yn bedyddio. Gofynai unwaith, wrth glywed clul cloch y llan, i ryw ferch, 'Bessi, i bwy mae'r *passing bell?*' ac atebai hithau yn ddifeddwl, 'I ferch hyna' Nathaniel,' o blegid merch hynaf Mr. Nathaniel, o Lechrodau, oedd wedi marw. Yr oedd, fel agos holl lyfrwyr yr oes hòno, yn ymgiprys ag ysbrydion. Dywedir i ysbryd ystranciog ei gario oddi wrth ei dŷ dros gwm dwfn Nant y Weniar, a'i osod i lawr yn esmwyth ar ael bryn; ac yr oedd yn cael ei adrodd fel diareb yn y wlad; 'Ysbryd Allt y Badau yn pwtian Sion y Potiau.' Ystyrid ei ddisgynyddion yn rhagori ar y cyffredin mewn talent i brydyddu a chanu, ond eu yn bod dra thueddol i fynychu tafarndai; eto yr oedd ei feibion, Cain ac Abel, yn sefyll yn uchel eu cymmeriad a'u crefydd. Parotôdd J. E. ei gareg fedd ei hun, a rhoddodd 1 *Cor.* xv. 52, yn Lladin ar y gareg. Bu farw yn 1776.*

8. 'Arithmetic: Mewn Trefn Hawdd ac Eglur. I wneuthur y Rheolau Canlynol, yn y Ffordd Cyffredin, Degrannau; ac wrth y Sliding Rule, &c. Gyda chyfarwyddid i gael arwynebiad, ac Eangfesur amryw luniau, megis Tiroedd, muriau Tai, a'u pennau,

* *Y Tyst Apostolaidd*, 1850, t. 136, 137; *Ysgrif* y Parch. R. Ellis.

Llofftydd, byrddau, Gwydr, Plangciau, Coed ysgwar a chrynion, Llestri a Llongau, &c. O Gasgliad John Roberts.*

Dublin, Argraffwyd gan S. Powell, Dame Street, tros yr Awdwr. MDCCLXVIII.'

9. 'Y Ffigisbren anffrwythlon: Neu Farn a Chwymp y Proffeswr Diffrwyth. Yn dangos y dichon Dydd Gras Ddarfod arno yn hir cyn darfyddo ei fywyd. Hefyd yr arwyddion wrth ba rai y gellir adnabod y cyfryw drueiniaid marwol. Gan y Gwas enwog hwnw o eiddo Crist, Mr. John Bunyan. Wedi ei gyfieithu o Ail-Lyfr unplyg yr Awdwr, a argraphwyd yn Llundain 1737, tan olygiad y Parch. Mr. Samuel Wilson.

Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth gan J. Ross, 1768. [Pris Pedair Ceiniog.]'

Ymddengys fod hwn yn ail argraffiad.†

10. 'Ymddiddan rhwng yr Arglwydd Iesu Grist a'r Pharisead hunan-gyfiawn, yr hwn sydd yn pwyso ar ei weithredoedd ei hun.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Joan Ross, yn Heol Awst, tros Peter Morris, yn y Flwyddyn 1768.' 12 tudalen 12plyg.

11. 'Hanes Bywyd a Marwolaeth Tri Wyr o Sodom a'r Aipht, y fan hefyd y croeshoeliwyd ein Harglwydd ni, sef *Afaritius*, yr Awyddus; *Prodigalis*, yr Afradlon; a *Fidelis*, y Cristion. Mewn dull o Ymddiddan rhwng Cantator y Bardd a Phen-Cantator, yr Holiedydd. At ba un y chwanegwyd Marwnad i bob un o'r tri, &c. Gan Wm. Williams.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Ross, tros yr Awdwr. MDCCLXVIII.'

12. 'Nodau 'Sgrythyrol y Gwir Gristion, ynghyd a Rhai Diferion o Laeth a Mel, wedi eu cyfieithu o'r Saesonaeg. Hefyd, Gwaedd ar Fynydd Sion yn gwahadd Proffeswyr Crefydd o bob Barn, at eu Dyledswydd o herwydd y Terfysg presenol sy'n y Deyrnas hon. Gan J. T.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Ross yn Heol Awst 1768.'

13. 'Llythyr at Holl Drigolion Cymru: a Elwŷr y Tair Ysgol i'r Nefoedd. Wedi ei sylfaenu ar y Tair Egwyddorion, neu Sylfaenau yr Efengyl, ac a gynhwysir dan y pennau hyn, Bywyd Rhesymmol, Ffydd Rhesymmol, Gobaith Rhesymmol. Oddiwrth eu Brawd

* Sion Rhobert Lewis, Almanaciwr Caergybi.

† Gwel rhif 11, d.f. 1766. [Tebycach mai ei gamgyflëu a gafodd yma, ac mai argraffiad 1766 ydyw.]

Thomas Edwards, Gweinidog o Eglwys Loegr fwy na Dêg mlynedd ar hugain mewn urddau. At ba un y chwanegir Tair Pregeth: Un ar yr Ail Enedigaeth, neu'r Enedigaeth Newydd. Un ar y Sacrament, ac un ar Iechydwriaeth a Dedwyddwch Tragwyddol trwy Grist. A ffordd gyfleus i arfer Boreuol a Phrydnhawnol Weddi mewn Teuluoedd.

Argraphwyd Ynghaerlleon gan Read a Huxley.'

14. 'Gweledigaetheu y Bardd Cwsc. Y Rhan Gyntaf.

Argraphwyd yn y Mwythig, ac ar werth yno gan J. Eddowes. MDCCLXVIII.' [16plyg.]

Yr oedd hwn yn bedwerydd argraffiad o Elis Wynn.*

15. 'An Historical Account of the British or Welsh Versions and Editions of the Bible. With an Appendix containing the Dedications prefixed to the first Impressions. By Thomas Llewelyn, L.L.D. Pro Patria.

London, Printed by Richard Hitt, &c. MDCCLXVIII.' [8vo.]

THOMAS LLEWELYN, LL.D., a anwyd ym Mhenalltau Isaf, ym mhlwyf Gelligaer, sir Forganwg, rywbryd tua'r flwyddyn 1720. Yr oedd ei rieni yn perthyn i hen gynnulleidfa y Bedyddwyr yn Hengoed, lle y bedyddiwyd yntau yn 1738. Cafodd elfenau ei ddysgeidiaeth yn Nhrosnant, Pont y Pwl, o dan un John Matthews, ac wedi hyny yn Athrofa y Bedyddwyr ym Mristol. Yna symmudodd i Lundain, lle y bu dan ofal ac addysg amryw ddysgedigion. Pan yr oedd yn Llundain, ymunodd mewn cymmundeb â Samuel Wilson, yr hwn oedd y pryd hyny yn weinidog y Bedyddwyr yn Heol Prescot, lle y cafodd alwad i bregethu. Wedi hyny sefydlodd athrofa, mewn cyssylltiad â chymdeithas o Fedyddwyr, er hyfforddi gwŷr ieuainc i'r weinidogaeth. Y pryd hyn anrhegodd Prifysgol Aberdeen yn Scotland ef â'r radd o A.C., ac wedi hyny â D.C. (neu LL.D.) Efe hefyd ydoedd un o brif sefydlwyr Cymdeithas y Cymmrodorion, Llundain. Ym mhen blynyddau dychwelodd i Gymru, gan wasanaethu ei genedl ym mhob modd ag y gallai. Bu farw yn 1783.'†

16. 'Llyfr y Weddi Gyffredin, &c. [Llyfr Gweddi Gyffredin.]

Printiedig gan Mark Baskett, Printiwr i Ardderchoccaf Fawrhydi'r Brenin, &c. M,DCC,LXVIII.' Unplyg.

* Gwel rhif 6, d.f. 1703; rhif 6, d.f. 1720; rhif 14, d.f. 1767; a hwn yma. [Y mae hwn yn bummed argraffiad o'r 'Bardd Cwsg.' Ar ei ddiwedd ceir cofres yn cynnwys 'Llyfrau a Argraphwyd ag sydd ar werth gan J. Eddowes, yn y Mwythig,' y sawl sydd ugain o rifedi.]

† *Hanes y Bedyddwyr*, gan Thomas, t. 207; *Hanes y Bedyddwyr*, gan Jones, t. 573, &c.; gwel hefyd *Seren Gomer*, Medi a Hydref, 1855, lle y mae hanes ei fywyd yn helaeth, gan y Parch. W. Roberts, Blaenau.

Y mae yn gyssylltiol â hwn, 'Llyfr y Salmau,' &c. Drwy Waith Edmund Prys, Archddiacon Meirionydd.' 'Printiedig yn Llundain: gan Mark Baskett, &c. M,DCC,LXVIII.'

17. 'Llythyr oddiwrth Gymanfa o Weinidogion, at yr amryw Eglwysi i ba rai y maent yn perthyn.

Caerfyrddin: Argraffwyd gan J. Ross, yn Heol-Awst. 1768.'

18. 'Hieroglyphic: or, A Grammatical Introduction to an Universal Hieroglyfic Language; Consisting of English Signs and Voices. With a Defination of all the Parts of the English, Welsh, Greek, and Latin Languages; Some Phisical, Metaphysical, and Moral cursory Remarks on the Nature, Properties and Rights of Men and Things. And Rules and Specimens for Composing an Hieroglyfic Vocabulary of the Signs and Figures, as well as the Sounds of Things, upon rational and Philosophical Principles, and the Primitive Meaning of Names. By Row. Jones.

London: printed by John Hughs, near Lincoln-Inn-Fields. Of whom may be had, the Origin of Languages and Nations; price 5s. and his Proscripts 1s. in Sheets. 1768.' Small 8vo.

19. 'Hymnau cymmwys i Addoliad Duw, O waith y Diweddar Barchedig Mr. Jenkin Jones.* At y rhai y chwanegwyd, Caniadau o Waith yr un Awdwr, Ynghyd a'i Farwnad, Gan Evan Thomas.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Ross, yn Heol-Awst, dros Stephen Jones. MDCCLXVIII.'

20. ¶ 'Yr Hen Lwybr. Newydd ei gyfieithu o'r Saesonaeg.

Caerfyrddin, Argraffwyd, ac ar werth gan J. Ross, am Ddimmau bob yn un, neu ddau Swllt y Cant.'

21. 'Taith y Pererin, tan gyffelybiaeth Breuddwyd.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Ross (Pris naw ceiniog.)'

Yr oedd hwn yn bedwerydd argraffiad† o'r holl lyfr, ac yn bummed argraffiad o'r drydedd ran.

22. 'The Character and Conduct of Ecclesiastics in Church and State; from the First Plantation of this Island, to the Accession of the Royal House of Hanover to the Crown of Great Britain. In Five Parts. Containing, I. The Conduct of the Pagan Ecclesiastics.

* Gynt gweinidog Llwyn Rhyd Owen; gwel rhif 1, d.f. 1720; rhif 1, d.f. 1723; a rhif 3, d.f. 1727.

† Gwel rhif 2, d.f. 1688; rhif 1, d.f. 1699; rhif 20, d.f. 1767 (mewn cyssylltiad â rhif 6 a 7, d.f. 1768); a hwn yma.

II. The Conduct of the British and Saxon Clergy. III. From the Conquest to the Reformation. IV. From the Reformation to the Revolution. V. From the Revolution to King George I. Taken from the Manuscript of Dr. Charles Owen, of Warrington. To which is added An Appendix. Giving a Short Account of the English Historians.

Shrewsbury, Printed by J. Eddowes, near the Market House. MDCCLXVIII.'

CHARLES OWEN ydoedd frawd i James Owen. Efe a gyfieithodd lyfr ei frawd ar Fedydd Babanod,* o dan yr enw 'The Infant Ark;' ond ni chafodd ei gyhoeddi. Cafodd ei werthu yn 1860 gyda llyfrau cywrain Mr. E. Edwards o'r Mwythig, am 5*s.* 6*c.*

23. 'Consideration on the Illegality and Impropriety of preferring Clergymen, who are unaquainted with the Welsh Language to Benefices in Wales, &c., by John Jones, A.M. Fellow of Queen's College, Oxon. 1768.'†

24. ¶ ['Rhyfeddol Brophwydoliaeth Myrddin yr hwn a Brophwydodd er's canoedd o flynyddoedd am amrywiol o Arwyddion a Rhyfeddodau sydd yn bresenol, ac yn ganlynol i'r helbulus ddyddiau sydd ar ddyfod. Wedi ei Gyfansoddu ar Fesur Cerdd yn y Flwyddyn 68. Gan Weinidog o Eglwys Loegr.'

Llyfryn bach o 8 tudalen ydyw. Nid oes iddo argraffeb o fath yn y byd ; ac o herwydd hyny nis gellir gwybod pa bryd, pa le, na chan bwy y cafodd ei argraffu : ond gellir meddwl mai wrth 'y Flwyddyn 68' y golygir 1768 ; ac ymddengys hyn yn amlycach ond ei gymharu â'r pennill diweddaf, yr hwn sy fel y canlyn :—

'Un mil a saith cant cyfan a thrigen mlwydd ag wyth
Oedd oedran Crist ein prynwr pam wnaethpwyd hyn o fwyth,
I gael rhybiddio'r Cymmru a chyffro pawb or byd
I alw ar Dduw'n garedig i attal hyn o lyd.'

Cwyna ein hawdwr wrth gofnodi y trydydd argraffiad (rhif 20, d.f. 1778) na fedrodd gael gafael ar y ddau argraffiad blaenorol : ymddengys mai hwn yw yr argraffiad *cyntaf;* ac argraffiad anghywir a gwael truenus ydyw. Ni chynnwys dalen yr enw ddim ond a grybwyllir uchod, gyda dyfyniad o *Gen.* xix. 17 (a gam-argreffir 'ix. 17') :—'Diangc am dy einioes : nac edrych ar dy ol, ac na saf yn yr holl wastadedd, diangc ir mynydd rhag dy ddyfetha.']

## 1769.

1. 'Camni yn y Goelbren ; neu, Datguddiad o'r Modd y mae Penarglwyddiaeth a Doethineb Duw yn trefnu Cystuddiau Dynion, Ynghyd â'r Modd y dylai Crist'nogion ymddwyn tanynt. Gwedi ei osod allan mewn Pregeth oddiwrth Preg. vii. 13. Edrych ar Orchwyl Duw, canys pwy a all unioni'r Peth a gammodd Efe? At ba un y chwanegwyd, Pregeth arall ar Diar. xvi. 19. Gwell yw bod yn

* Gwel rhif 7, d.f. 1693.

† [Gwel rhif 22, d.f. 1767.]

ostyngedig gyd â'r gostyngedig na rhannu'r Yspail gyd â'r Beilchion. Gan y diweddar Barchedig a Dysgedig Mr. Thomas Boston, Gweinidog yr Efengyl yn Etric yn yr Alban. Newydd ei Gyfiaithu yn Gymraeg.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Ross, dros T. Davies, o Sir Benfro. 1769.'

Cynnwysa hwn 78 o dudalenau. Yr oedd cynnygiad am ei argraffu yn gyssylltedig â Phregeth y Parch. D. Rowlands er y fl. 1762,* lle y mae enwau lluaws o weinidogion o bob enwadau, a phregethwyr Methodistaidd, fel rhai a dderbynient enwau am dano. Ym mhlith y Methodistiaid yn y Gogledd, y mae 'Mr. John Evans o'r Bala, Mr. Charles Marc [?] a Huw Tomas yn Llun, ac hefyd John Rowland gerllaw Llanycil,' yr argraffydd, mae yn debyg. Rhoddid hysbysiad y bwriedid 'argraphu llyfr arall o'r un Meintioli a hwn, o Waith yr un Awdwr, ar Ostyngeiddrwydd—mewn amryw Bregethau;' ond tebyg na chafwyd cefnogaeth ddigonol. Yr awdwr,—

Thomas Boston, a anwyd yn Duns, Scotland, yn 1677. Cafodd ei ddysgeidiaeth yn Edinburgh. Yn 1699, cafodd weinidogaeth plwyf Simpren; ac yn 1707, efe a symmudodd i Ettric. Cyhoeddwyd gweithiau ereill o'i eiddo yn Gymraeg yn y 19fed ganrif. Bu farw yn 1733, yn 56 oed.†

Y cyfieithydd, mae yn debygol, ydoedd y Parch. Daniel Rowlands, Llangeitho.

2. 'Duwioldeb Rhydychain: Neu Hanes Cyflawn a Diduedd am chwech o Ysgolheigion a fwriwyd allan o Neuadd-golegol St. Edmunds, yn Rhydychain. Gyda Llythyr Cyflwyniad at yr Anrhydeddus Iarll Litchfild, Canghellor y Brif-Ysgol honno. Gan Athraw'r Celfyddydau o Brif-ysgol Rhydychain.

Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth gan Joan Ross, tros Joan Tomas o Lanfihangel, gerllaw'r Gelli Aur. MDCCLXIX. [Pris Chwe' Cheiniog.]'

Dywedir mai awdwr campus y llyfryn grymus hwn ydoedd

Syr Richard Hill, mab Syr Rowland Hill, a brawd hynaf y Parch. Rowland Hill, yr hwn a anwyd yn Hawkston, sir Mwythig, yn 1733. Cafodd ei ddysgeidiaeth yn Rhydychain, lle y cyrhaeddodd ei A.C. Wedi bod ar daith trwy Ewrop, efe, pan ddaeth yn ol, a hynododd ei hun trwy ei ymlyniad wrth y Methodistiaid Calfinaidd, yr hyn a arddangosodd wrth ysgrifenu y llyfr uchod, yn yr hwn y mae yn ymosod yn llym ar yr awdurdodau. Atebwyd ef gan y Dr. Newell, o Rydychain, ac atebodd yntau hwnw yn ol gyda llymder mwy fyth. Bu hefyd mewn dadl wresog â Wesley, Fletcher, ac ereill o'r Methodistiaid Arminaidd, mewn amddiffyniad i Galfiniaeth. Ar farwolaeth ei dad

* Gwel rhif 15, d.f. 1762.

† *Encylopædia Britannica.*

daeth i'r etifeddiaeth, ac yn aelod o'r Senedd dros sir y Mwythig. Yr oedd yn siarad llawer yn y Senedd, a chan mwyaf ar amgylchiadau cyssylltedig â chrefydd. Byddai weithiau yn pregethu mewn capeli; ac adeiladodd gapel ger llaw ei dŷ. Bu farw yn 1808, yn 75 oed.*

3. 'Dirgelwch Babel Fawr, Mam-Butain yr holl Ddaear; Neu Gywir hanes o lawer o Greulonderau, a Chyfeiliornadau Eulunaddolgar Eglwys Rhufain; Wedi ei nodi allan o'r awdwyr Gorau, er lles i'r Cymru. Gan John Hughes, Drefaes, yn Llûn.

Argraffwyd yn Llanymddyfri.'

4. 'Cyfaill i'r Cymro: neu Lyfr o Ddiddanwch Cymhwysol, er dowys Dyn ar Ffordd o Hyfrydwch: yn Ganeuon, a Charolau, ar Englynion, hawdd yw deuall, o waith Prydyddion sir y Flint, a sir Ddimbych. O gasgliad W. Hope, o Dre Fostyn.

Caerlleon: Argraphwyd gan W. Read a F. Huxley yn y flwyddyn 1769, ag ar werth gan W. Hope, yn sir y Flint.'†

5. 'Cyngor Gweinidog o'r Wlad i'w Blwyfolion, yn enwedig i'r rhai ieuaingc o honynt. Yn dangos Beth a ddylent Gredu a Gwneuthur fel y b'ont gadwedig.

Argraphwyd yn Llundain i'r Gymdeithas er cynnyddu gwybodaeth Gristnogol. MDCCLXIX.' 78 tudalen.‡

6. 'Ffarwel Weledig, Groesaw Anweledig Bethau: Neu rai Hymnau o Fawl i Dduw a'r Oen. Y Drydedd Ran.§ Gan William Williams.

Llanymddyfri: argraphwyd tros yr Awdwr gan Rys Tomas. M,DCC,LXIX.'

Cynnwysa 84 o dudalenau 12plyg. Y mae y ddwy ddalen ddiweddaf yn cynnwys hysbysiad helaeth a hynod o eiddo yr awdwr, am ei 'Pantheologia' oedd yn cael ei gyhoeddi yn rhanau y pryd hyn.

7. 'Y Bibl Cyssegr-lan, Sef yr Hen Destament a'r Newydd.

Printiedig gan Mark Basket, printiwr i ardderchoccaf fawrhydi'r brenin, a chan wrthrychiaid Robert Basket, 1769.'

Beibl 8plyg ydoedd, ar draul y Gymdeithas er Taenu Gwybodaeth

* *Gentleman's Magazine.*

† [Naill ai y mae hwn yn ail argraffiad ai yn gamgyflead o rif 17, d.f. 1765.]

‡ [Fel hyn y saif yr argraffeb yn y cyfargraff sydd o'm blaen :—'Llundain : A argraphwyd i J. Rivington, Gwerthwr Llyfrau i'r Gymdeithas er cynnhyrchu Gwybodaeth crist'nogol, ym Monwent St Paul, No 62. M DCC LXIX.' Ni chynnwys ond 48 o dudalenau 12plyg, a'r olaf o honynt yn wyn.]

§ Gwel rhif 3, d.f. 1766.

Gristionogol. Argraffwyd 20,000 o gopiau.* Golygydd yr argraffiad hwn oedd y Parch. John Evans, awdwr 'Cyssondeb y Pedair Efengyl,' tybygid.† Dywedir y dilynwyd orgraff Beibl yr Esgob Lloyd yn hwn, am yr hyn y mae Mr. Richard Morris yn ceryddu y y golygydd yn llym, mewn llythyr ato, dyddiedig 'Tŵr Gwyn, 2 Chwefror, 1768.'‡ Cafodd y Dr. Thomas Llewelyn, Bedyddiwr o sir Forganwg,§ gan y Gymdeithas argraffu rhai miloedd yn ychwaneg na'u bwriad ar y cyntaf, er mwyn cyflenwi diffygion yr Ymneillduwyr. Rhoddodd un Mr. Marlow, o Lanllieni, gant ac ugain o Feiblau yr argraffiad hwn i'r Bedyddwyr; i'w rhoddi ar eu pulpudau yr oeddynt, y rhan fwyaf. Darfu i'r Parch. Benjamin Evans, gweinidog yr Ymneillduwyr yn Llanuwchllyn,|| gael, ym mhen chwe blynedd, 500 o honynt, trwy, ac o rodd, fel y tybir, Mr. Sporton, masnachwr cyfoethog a haelionus iawn yn ei ddydd, yn Llundain, fel y prawf y llythyr canlynol o'i eiddo at gyfaill yng Nghaerlleon, dyddiedig yn 'Clapham, 5med Mehefin, 1775:'—'Gyda'r un llong chwi a dderbyniwch 200 o Feiblau i'r Parch. Benjamîn Evans, o Lanuwchllyn, yr hwn a ysgrifena atoch ym mha fodd y dymuna iddynt gael eu hanfon ym mlaen, a rhaid i mi grefu arnoch dalu y cludiad, a phob gofyniadau dyledus ar y 200 hyn, a'r 300 gweddill a anfonir. Mi a ad-dalaf i chwi yn y modd y mynoch, mor fuan ag y mynegoch i mi y swm.'**

Dywed y diweddar Barch. Evan Evans *(Ieuan Brydydd Hir)* fel hyn am yr argraffiad hwn:—

'Ond i mae bai arall sydd waeth na'r cwbl a grybwyllwyd uchod,'—sef yn lle *ynghyngor*, *ynghynnulleidfa*, *yngolwg*, ysgrifenu *yng nghyngor*, *yng nghynnulleidfa*, *yng ngolwg*,—'ag sydd yn argraphiadau diweddaf y Bibl Cyssegrlân drwy newidio ag anffurfio enwau dynion a lleoedd drwy holl gorph yr yscrythur lân, gan daflu y llythyren *Ch* gymraeg allan o'r geiriau hynny, lle ir oedd y Groegiaid a'r Hebreaid yn arfer y llythyr *Chi* a *Chaph* Hebräeg, ag arfer *C* yn ei lle, megis yn y geiriau canlynol: *Acis*, *Nebucodonosor*, *Aristarcus*, *Tycicus*, *Acaia;* yn lle *Achis*, *Nebuchodonosor*, *Aristarchus*, *Tychichus* ag *Achaia*. Chwith iawn a fyddai yscrifennu y geiriau canlynol, *Llywarch*, *Cynfarch* yn Gymräeg, yn y wëdd lygredig hon, *Llywarc*, *Cynfarc*. Nid llai chwithig ynteu, i'r sawl a ddeallont y iaith wreiddiol, yw troi *Achis*, *Nebachodonosor*, *Aristarchos*, *Tuchicos*, *Achaia*,†† yn *Acis*, *Nebucodonosor*, *Aristarcus*, *Tycicus* ag *Acaia*, o ran fod y Saeson yn eu llafaru felly, a'n heglwyswyr seisnigaidd ninnau yn eu dilyn yn eu llygredig lafariad.

'Nid wyf fi yn dywedyd mo hyn er gwarthruddio neb, o herwydd nad eill neb ond a allo. I mae gennyf fi a phob gwir Gymro ddyladwy

* Dywedwyd mai 10,000 oeddynt, yn y *Dysgedydd*, Gorph. 1828, t. 196.

† Gwel rhif 2, d.f. 1765.

‡ *Y Greal*, 1806, t. 282.

§ Gwel rhif 15, d.f. 1768.

|| [Gwedi hyny yn y Dref Wen, ger Castell Newydd Emlyn.]

** *Congregational Magazine*, 1842, p. 823.

†† [Y mae y pum enw hyn mewn llythyrenau Groeg gan y Prydydd Hir; ond gan nad oes llythyrgyff Groeg yn swyddfa yr argraffydd, yr ydys yn gorfod arfer y llythyren gyffredin.]

barch a chariad i'r sawl a olygasant yr argraphiadau diweddar y Bibl Cyssegrlân yn Gymräeg, o herwydd eu bod yn deall iaith ein gwlâd yn odidog. Ond da i gwnaethent hwy yn y peth hwn yn fy marn i, ac i bawb a ddelo ar eu hol hwynt, i olygu argraphiad yr yscrythur lân, ddilyn orgraph neu ddull yscrifenniad y dyscedig a'r parchedig Esgob, *Risiart Parry*, a'r Doctor *Davies* o *Fallwyd* yn argraphiadau y Bibl Cyssegrlân, a ddaethant allan yn y flwyddyn 1620 a 1630; gwŷr a oeddynt yn deall iaith eu gwlâd yn rhagorol, a chanddynt gariad iw gwlâd a'u hiaith, ag i eneidiau dynion. Nid fel y gormesiaid seisnigaidd yn ein dyddiau drwg ni, y rhai ni fedrant, ag ni fynnant, wneuthur yr hyn a weddai i Fugeiliaid ffyddlon. Duw yn ei drugaredd a symmudo ymmaith ei farnedigaethau oddiarnom, ag a ganiattao ini gannwyllbren ei air sanctaidd yn ein iaith ein hunain, ac escobion a fedront yscrifennu, pregethu, a darllen Cymräeg. Amen.'*

8. 'An Account of some Remains of Roman and other Antiquities in and near the county of Brecknock, in South Wales: By John Strange, Esquire. Addrest to the President, Council, and Fellows of the Society of Antiquaries. Read at the Society of Antiquaries, April 13. and 20, 1769.

London: Printed by W. Bowyer and J. Nicholas. MDCCLXIX.'

9. 'Historical and Critical Remarks on the British Tongue and its Connection with other Languages Founded on its State in the Welsh Bible. By Thomas Llewelyn, LL.D.

London, Printed for J. Buckland, in Paternoster row, &c. M.D.CC.LXIX. [Price Two Shillings.]' [8vo.]

10. 'Offeiriadgrefft wedi Ymddiffyn. Pregeth yn achos Bwrw allan Chwe' gwr Ieuangc Boneddigaidd o Brif-Ysgol Rhydychen. Am Weddio, Darllain ac Ysponio yr Ysgrythurau. Wedi ei Gostyngedig gyflwyno i Mr. Prif Gangellor a Phenaethiaid y Tai. Gan eu Gostyngedig Was'naethwr, Y Shaver. Wedi ei gyfieithu Cymraeg.

Dublin: Argraphwyd gan S. Powel, in Dame-Street, opposite to Townes's Street. M,DCC,LXIX.'

Awdwr y llyfryn hwn ydoedd
Y Parch. JOHN MACGOWAN, A.C., yr hwn a anwyd yn Edinburgh, yn 1726. Dechreuodd ei yrfa grefyddol ym mysg y Trefnyddion

* 'Rhybudd i'r Darllenydd,' yn ei 'Anghwanegiadau,' yn niwedd Llyfr ii. [t. 324] o *Gasgliad o Bregethau* y Parch. Evan Evans. [Yn ol y *Greal* (rhif 6, t. 282), a Gwallter Mechain (*Gwaith*, iii. 259), yn 1770 yr ymddangosodd yr argraffiad hwn o'r Beibl Cymraeg. Amlwg yw nas gwelodd yr awdwr mwy na'r golygydd mo hono. Ni ddywed y Prydydd Hir ym mha flwyddyn y daeth allan; ond sonia Gwallter Mechain (ll.c.) am dano fel yr argraffiad cyntaf o fewn ei gof ef, yr hyn a ddengys ei fod yn gydnabyddus ag ef. Ond hwyrach bod iddo ddau amseriad, yn gyffelyb i argraffiad Moses Williams, 1717-18.]

Wesleyaidd. Yn y cyfundeb hwnw hefyd y dechreuodd arfer ei ddawn fel pregethwr. Ar ol peth amser mabwysiadodd olygiadau Calfinaidd, ac ymunodd â'r Bedyddwyr Neillduol; a bu am ychydig amser yn weinidog i gynnulleidfa o honynt yn Bridgnorth, yn sir Mwythig. Ni ddilynwyd ei lafur yno â nemawr o lwyddiant. Yn 1766, ymsefydlodd yn weinidog i'r gynnulleidfa yn Devonshire Square, Llundain, lle y bu hyd ei farwolaeth, yr hyn a gymmerodd le Tach. 25, 1780, yn 55 oed. Yr oedd yn awdwr amryw lyfrau poblogaidd, yn enwedig ei 'Dialogues of Devils.'*

11. 'Galarnad ar Farwolaeth Mr. W. Read: o Bont y Moel, yn ymmyl Pont y Pool: Physygwr, Meddyg, ac Apothecary: Yr hwn a ymadawodd a'r byd ym Mis Mawrth, 19, 1769, yn y 53, o'i oed. Ac a adawodd ar ol Wraig a gyfenwid Mary, a dwy Ferched, Mary ac Anne, ac etifeddiaeth luosog iddynt. Ynghyd a Llythyr wedi ei ddychymygu o Fyd yr Ysbrydoedd at ei wraig a'i ddwy ferched. A Hymn hefyd wedi ei chyfansoddi ar awr o Gystudd a Gwendid. Gan W. Williams.

Argraphwyd yn Llanymddyfri, Gan R. Thomas. 1769.'

12. 'Marwnad ar Farwolaeth y Parchedig Timothy Thomas, yr hwn a ymadawodd â'r byd Tachwedd 12, 1769.

Caerfyrddin, Argraffwyd tros yr Awdwr, gan J. Ross, yn Heol Awst, 1769.'

Awdwr y Farwnad hon ydoedd frawd y gwrthddrych, ac i awdwr 'Hanes y Bedyddwyr,' sef

Y Parch. ZACHARIA THOMAS, yr hwn ydoedd fab ieuangaf Mr. John Morgan Thomas, o Esgair Ithri. Dechreuodd bregethu yn 1757. Galwyd ef i'r weinidogaeth fel cynnorthwywr ei frawd yn Aberduar tua'r fl. 1762; ordeiniwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth yn 1771,† lle y bu yn gweinidogaethu yn ffyddlawn hyd ei farwolaeth, Ionawr 16, 1816, yn 89 oed, ac wedi bod yn pregethu 59 o flynyddoedd.‡

13. 'Llythyr oddiwrth Gymmanfa o Weinidogion, at yr Amryw Eglwysi, i ba rai y maent yn perthynu.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Ross, yn Heol Awst. 1769.'

14. 'The Philosophy of Words in Two Dialogues between the Author and Crito, containing an Explanation with various Specimens of the First Language and thence of all its Dialects and the Principles of Knowledge: a Lexicon of difficult Names and Passages in

* *Llythyr* y Parch. T. Rees.

† *Hanes y Bedyddwyr*, gan Thomas, t. 392, 407.

‡ *Hanes y Bedyddwyr*, gan Jones, t. 329.

the Bible and Ancient Authors; and a Plan for an Universal Language. By Row. Jones.

London: printed by John Hughs. 1769. Of whom may be had by the same author—The Origin of Languages and Nations,* price 5s. his Proscript, 1s; and his General Grammar,† 2s. 6d.'

15. ¶ 'Darluniad Byrr o'r Briodas Ysprydol, tan yr enw Shilo, sef Crist, a Merch yr Hen Amoriad, sef Pechadur Diadgenedledig.'

16. 'Articles for Kilbebill Society.

Carmarthen, Printed by J. Ross, in Lammas-Street. M.DCC.XIX.'

## 1770.

1. 'Y Beibl Sanctaidd: Sef yr Hen Destament a'r Newydd, gyda Nodau a Sylwadau ar bob Pennod.

Caerfyrddin, argraphwyd dros y Parch. Peter Williams. 1770.' [4plyg.]

Cynnwysa hwn yr Apocrypha, a Salmau Cân yr Archddiacon Prys; ond yr oedd i'w gael hefyd heb yr Apocrypha i'r rhai a ddewisent ei gael felly. Dyma y waith gyntaf i'r Beibl gael ei argraffu yng Nghymru. Rhoddodd Mr. Richard Morris, o Lundain,‡ brawd Lewis a William Morris o Fon, ddwy barthlen i'w harddu, fel y gwnaethai Mr. William Jones,§ tad Syr William Jones, â Beiblau y blynyddau 1742 a 1752. Argraffwyd 8000 o honynt, a gwerthid hwynt am bunt yn rhwym; ac felly yn iselbris iawn. Nid Peter Williams oedd y cyntaf i esbonio yr Ysgrythyrau yn Gymraeg; canys yr oedd 'Cyssondeb y Pedair Efengyl, gan John Evans, Athraw yn y Celfyddydau,' yn cynnwys nodau byrion ar adnodau, yn gyhoeddedig er y flwyddyn 1765.‖ Ond rhaid addef mai P. W. oedd y cyntaf a wnaeth 'sylwadau ar bob pennod.' Yr ydys yn tybio mai sylwadau Ostervald a ddilynodd ef fwyaf, yr hwn oedd Almaenwr, a gwaith yr hwn a gyfieithasid ac a gyhoeddasid yn Seisonaeg yn yr oes hòno.

[Yr oedd Ieuan Brydydd Hir hefyd wedi dechreu ar gyffelyb orchwyl o gylch yr un amser; ond ni chafodd ef byth mo'i argraffu. Y mae cyfrolau o hono ar gadw mewn llawysgrifen yn y Gywreinfa Brydeinig yn Llundain.

Ioan Ffrederic Ostervald, oedd frodor o Neuffshatel yn Switserland, lle y ganed ef yn y fl. 1663, ac y bu farw yn 1747. Treuliodd ei oes fel gweinidog Protestanaidd yn ei dref enedigol. Yr oedd yn awdwr amryw lyfrau defnyddiol yn eu dydd, yn yr iaith Ffrengig; ac y mae rhai o honynt, fel y dywed ein hawdwr, wedi eu cyfieithu i'r Seisoneg; megys ei 'Arguments and Reflections on all the Books of the Bible,' i'r hwn y mae 'Sylwadau' Peter Williams i raddau helaeth yn ddyledus. O'r un gwaith hefyd y tynodd y Prydydd Hir y rhan luosocaf o'i nodiadau yntau.]

* Gwel rhif 17, d.f. 1764.

† Gwel rhif 18, d.f. 1768.

‡ Gwel rhif 2, d.f. 1690; a rhif 1, d.f. 1760.

§ Gwel rhif 1, d.f. 1746.

‖ Gwel rhif 2, d.f. 1765.

2. 'Trysorfa Gwybodaeth, neu Eurgrawn Cymraeg. [Pris tair ceiniog yn unig] y III. Rhan, O ddydd Sadwrn, Mawrth 17, hyd Sadwrn, Mawrth 31, 1770.

1. Wyth tu-dalen o Hanes Cymru, o amser Cadwaladr Brenhin Prydain, hyd at Lewelyn y diweddaf o Dywysogion Cymru, a 'sgrifenwyd gan Caradog o Lancarfan, dan yr enw, Brut y Tywysogion.—Yr ystori hon a drefnir yn y cyfryw fodd ag y gellir ei rhwymo wrth ei hun, pan ei gorphenir.

2. Wyth tu-dalen arall sydd yn cynnwys Ymresymiadau ar amrywiol Destunau, sef, Y modd i wellhau tir yn diweddu—Llythyr a gyfieithwyd allan o'r Spectator—Hanes ferr o'r terfysg a gyfododd yn y deyrnas hon yn amser Risiart II. gan un Wat Tyler—Hanes y Buioed, math o Seirph o faintioli rhyfeddol, i'w gweled yn aml mewn rhai mannau yn America—Y modd i gryfhau'r llygaid.

3. Wyth tu-dalen o Brydyddiaeth, yn cynnwys, Salm LXLVIII o gynghaneddiad y Parchedig Mr. Elis Wynne, awdwr y Bardd Cwsg—Cerdd i feibion ac i ferched—Deuddeg englyn unodl union—Y 98 Salm wedi ei chyfansoddi ar lafar cerdd—Hanes ymryson a fu yn ddiweddar rhwng dau blwyf &c.

4. Wyth tu-dalen o Newyddion cartrefol a phellennig—Atteb y brenhin i ddinasyddion Llundain—Cyfarchiad y ddau dŷ o Barliament i'r Brenhin—Atteb grasusol ei Fawrhydi — hanes ryfeddol o'r modd y gorchymynodd ymherawdwr y Twrciaid i'w ddeiliaid gadw diwrnod o ympryd a gweddi, &c.—Hanes am lofruddiaeth ganol dydd yn Sir Forganwg; byr hanes o eisteddfod Henffordd ar lofruddion &c., &c., &c.

Argraphwyd gan I. Ross; ac ar werth gan R. Rhydderch, yng Nghaerfyrddin; Mr. Williams, o Fleet-Street, Llundain; Mr. Cadel, ym Mristo; Mr. Eddowes, yn y Mwythig; Mr. Thomas Bowen, yn Llanfair-muallt; Mr. I. Hughes, yn Niwbwrch, sir Fon; Mr. W. Jones, yn y Bala; Mr. C. Lloyd, yn Aberystwyth; Mr. Rogers, yn y Fenni; Mr. Jones, yn Aberhonddu; Mr. Savus, yng Nghaerdûdd; Mr. Beedles, Pont-y-pŵl; Mr. Rees, yng Nghastell Nedd; Mr. Awbry, yn Abertawe; Mr. Wright, a Mr. B. Jones, yn Hwlffordd; Mr. Harris, yn Aberteifi; Mr. N. Watkins, yn Llanymddyfri; Mr. Edwards, yn Llandeilo-fawr; Mr. I. Jones, Rhwymwr Llyfrau, yng Nghaernarfon; Mr. Pughe, yn Llanrhwst, sir Ddinbych; dan lun y Llew Gwynn, ym Machynlleth, sir Drefaldwyn; Mr. Rees, New-Inn; Mr. D. Evan, Henllan-am-Goed; a Ioan Efan, Carriwr o Gaerfyrddin i Aberteifi.'

'Fe ddeisyfir ar y cyfryw Foneddigion, ac eraill, sydd yn meddiannu hen Law-'sgrifeniadau Cymraeg, ac yn ewyllysio eu cael yn

gyhoeddus, eu hanfon at Gyhoeddwr yr Eurgrawn Cymraeg, i ofal y Parchedig Mr. Josiah Rees, o'r Gelligron, gerllaw Castell-Nedd; R. Rhydderch, Gwerthwr-Llyfrau; neu I. Ross, Argraphydd, yng Nghaerfyrddin.'

Yr oedd y cyhoeddiad cyfnodol Cymraeg cyntaf hwn yn dyfod allan unwaith bob pythefnos, pob rhifyn yn 32 o dudalenau 8plyg bychan, o werth tair ceiniog y rhifyn. Yr oedd pob rhifyn yn bedwar dosbarth a phob dosbarth yn wyth tudalen, wedi eu rhifnodi ar wahan; yr hyn, erbyn rhwymo y llyfr, a wnai bedwar o lyfrau o 120 tudalen bob un, yn ol prif benau neu ddosbarthiadau y cyhoeddiad; 120 o'r *Brut y Tywysogion*, 120 o *Ymresymiadau ar amrywiol Destynau*, 120 o *Brydyddiaeth*, a 120 o *Newyddion Cartrefol a Phellenig*. Cyhoeddwyd y rhifyn cyntaf ddydd Sadwrn, Mawrth 3, 1770; a'r olaf ddydd Sadwrn, Medi 15fed, yr un flwyddyn. Felly *pymtheg* rhifyn a ddaethant allan o hono, pryd y rhoddwyd ef i fyny o ddiffyg cefnogaeth ddigonol.*

Golygwyr yr Eurgrawn oeddynt y Parch. Peter Williams, ac Evan (neu Ifan) Tomas, argraffydd;† ac yr oedd Mr. Eliezer Williams,‡ y pryd hyny yn fachgen ieuanc, yn cymmeryd cryn ran ynddo;§ ac ymddengys fod rhan o'r olygiaeth ar y Parch. Josiah Rees, gweinidog y Presbyteriaid yn y Gelli Onen, ar ol cynlluniad a thraul yr hwn y cerid ef ym mlaen;|| ac ymddengys hefyd wrth ryw englynion gan Ifan Tomas i'r Cyhoeddwr anturiaethus, John Ross, ei fod yntau wedi dysgu y Gymraeg mor dda, er ei fod yn Sais, neu yn hytrach yn Scotiad, tybygid, fel ag yr oedd yn gallu cymmeryd rhan yn yr olygiaeth.**

* [Canfyddir mai cynnwysiad amlen y *trydydd* rhifyn a roddwyd uchod; gan na welodd y golygydd mo amlen y rhifyn cyntaf, ac nid ymddengys fod yr awdwr chwaith yn gydnabyddus â hi. Gellir gweled cynnwysiad yr *ail* rifyn yn *Nhraethodau Llenyddol* y Dr. Edwards, t. 507.

† Gwel rhif 8 a 9, d.f. 1767; rhif 11 a 15, d.f. 1766; a rhif 7 a 12, d.f. 1767.

‡ [Nid yw debyg fod llaw yn y byd gan Eliezer Williams ynddo, canys nid oedd efe y pryd hwn ond 16 oed.]

§ *Cambro-Briton*, i. 452.

|| Rees's *Historical Description of Glamorganshire; Beauties of England and Wales.*

** *Y Traethodydd*, 1848, t. 362-365. [Dywedir weithiau fod y Parch. Evan Evans (Ieuan Brydydd Hir) ym mhlith gohebwyr y greal hwn; ond er bod genyf gyfargraff lled gyflawn o'r cyhoeddiad, yr wyf yn methu canfod dim o'i waith ef ynddo. Y mae y Dr. Lewis Edwards wedi cyhoeddi yn y *Traethodydd*, a'i adgyhoeddi yn ei *Draethodau Llenyddol*, 'Gywydd Methiant,' yr hwn a argraffwyd yn yr 'Eurgrawn' hwn, o waith Ieuan Brydydd Hir *Hynaf*, yr hwn oedd yn ei flodau o gylch y fl. 1450, a'i briodoli i Ieuan Brydydd Hir *Ieuaf*, sef y dywededig Evan Evans, neu 'Ieuan Fardd ac Offeiriad,' fel yn gyffredin y galwai efe ei hun. Gwnaed yr un camgymmeriad gan ysgrifenydd yn y *Brython* (cyf. iv. t. 34); ond dangoswyd mewn rhifynau ereill o'r un cylchgrawn, tu hwnt i'r chwythryn lleiaf o ammheuaeth, mai gwaith bardd y bymthegfed ganrif ydyw; ac ym mhlith profion ereill crybwyllwyd fod darnau helaeth o'r cywydd yn argraffedig yn *Flores Poetarum Britannicorum*, yr hwn a gyhoeddwyd yn y fl. 1710, ugain mlynedd cyn geni y Prydydd Hir o Geredigion. Gwelais y cywydd hwn hefyd mewn casgliad o farddoniaeth law-

3. 'Tyred a Groesaw at Iesu Grist: neu Draethawd eglur a buddiol, ar Ioan vi. 37. Yn dangos Achos, Gwirionedd, a Dull dyfodiad Pechadur at Iesu Grist, a'i dderbyniad dedwydd, a'i groesaw bendigedig ef. A 'sgrifenwyd yn Saes'neg gan John Bunyan. Ac yn Gymraeg gan Iago ab Dewi. Yn ol argraphiad un-plyg yr Awdwr a argraphwyd yn Llundain 1737, tan olygiad Was ffyddlon i Grist Mr. Samuel Wilson.

Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth gan J. Ross, yn Heol Awst. M,DCC,LXX.'

4. 'Teml Solomon wedi ei hysbrydoli; Neu Oleuni'r Efengyl wedi ei gyrchu allan o'r Deml yn Jerusalem, i'n harwain yn hawsach i mewn i Ogoniant Gwirioneddau y Testament Newydd. Gan John Bunyan.

Argraffwyd Ynghaerfyrddin.'

5. 'Cydymaith i'r Allor. Gwedi ei gyfieithu i'r Cymraeg gan L. E.

Argraffwyd yn y Mwythig, gan Stafford Prys.'

Yr oedd hwn y pedwerydd argraffiad o hono.*

6. ¶ 'Cywydd Llyntegid, sef y Prydydd yn cyffelybu Tonnau'r Llyn i Dragwyddoldeb.'†

7. 'Seion yn ei galar, neu Hymnau o fawl i Dduw.

Argraphwyd yn y Flwyddyn, 1770.'

8. 'Ymddiffyn Cristionogol: sef, Coppi o Lythyr at wr urddasol, a anfonodd ei Was i aflonyddu addoliad Crefyddol ar Ddydd yr Arglwydd.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Ross, dros Dafydd Lewys. 1770.'

Awdwr y llythyr ydoedd Mr. R. Jones, Rhoslan, yn sir Gaernarfon; a daeth allan wedi hyny o dan yr enw 'Lleferydd yr Asyn.'

9. 'Dedwyddol ymadawiad y cyfiawn, Neu Marwnad y Parchedig Mr. William Evans, Gweinidog yr efengyl, o blwyf Llan-Giwc, yn Sir Forganwg, yr hwn a ymadawodd a'r byd presennol Ebrill 23, yn y flwyddyn 1770, yn 54 oed, yr hwn oedd ddiwid a llafyrus a defnyddiol, &c. Gan Dafydd William.

ysgrifol a wnaed ar bwys dau gan mlynedd yn ol. O ran hyny, y mae y cywydd yn dwyn digon o brofion mai cyfansoddiad gwr yn dyoddef pwys henaint a methiant ydyw; tra nad oedd Evan Evans ond rhyw ddeugain oed yr amser y cyhoeddid yr 'Eurgrawn.']

* Gwel rhif 3, d.f. 1715; rhif 4, d.f. 1753; rhif 11, d.f. 1762; a hwn yma. [Cyfieithiad Moses Williams yw rhif 4, d.f. 1715; a rhif 4, d.f. 1753; ond cyfeithiad L. E. yw rhif 11, d.f. 1762, a hwn yma.]

† Awdwr y Cywydd hwn ydoedd Morys ab Robert o'r Bala.

Pontfaen: Argraffwyd dros yr Awdwr yn y flwyddyn MDCCLXX.'

DAFYDD WILLIAMS oedd enedigol o gymmydogaeth Llanymddyfri. Ymunodd yn foreu â'r Methodistiaid, gyda'r rhai y dechreuodd bregethu, ac ar gymhelliad y Parch. Daniel Rowlands, Llangeitho, daeth i Forganwg i gynnal un o Ysgolion Rhad Mrs. Bevan, ac i bregethu. O blegid bod un arall o'r enw Dafydd Williams, wedi dyfod i Forganwg o gymmydogaeth Llandyfaelog, ac yntau hefyd yn pregethu gyda'r Methodistiaid, ac wedi ei ordeinio yn Aberddin, ger y Bont Faen, gwahaniaethid hwynt yn eu henwau ym Morganwg, trwy alw hwn yn Ddafydd William Dafydd, a'r bardd yn Ddafydd William Rhys. Wedi treulio cryn amser felly, efe a ymadawodd â'r Methodistiaid, ac a ymunodd â'r Bedyddwyr yng Nghroes y Parc, Bro Morganwg, ar ffurfiad cyntaf yr Eglwys hòno, gyda'r rhai y bu hyd ei farwolaeth, yr hyn a gymmerodd le Hydref 1, 1794, yn 82 oed,* ac a gladdwyd ym Mynwent Llanbedr y Fro, lle y mae careg gerfiedig ar ei fedd.

10. 'Marwnad ar y Parchedig Mr. H. Davies Chaplain i'r Wir Anrhydeddus Countess Walsingham, yr hwn a fu farw y 13, o Ionawr, 1770, yn y 53 flwyddyn o'i oed.—An English Elegy on the Rev. Mr. H. Davies Chaplain to the Right Hon. Countess of Walsingham, who departed this life January 13th, 1770, in the 53d year of his age, who was likewise a pastor of four large Congregations in Pembrokeshire. By Mr. W. Williams.

Llanymddyfri: Argraphwyd gan R. Tomas tros yr Awdwr. 1770.' [12plyg.]

11. 'Marwnad ar y Parchedig Mr. G. Whiteffield, Chaplain i'r Wir Anrhydeddus Iarlles Huntingdon; yr hwn a fu farw y degfed ar hugain o Fedi, 1770. yn Newbury yn Lloegr Newydd. Gan W. Williams. Ynghyd a Llythyr Capten Jacobson, o Boston, ar Achos ei Farwolaeth.

Caerfyrddin, Argraphwyd tros yr Awdwr gan I. Ross. M,DCC,LXX.' [12plyg.]

12. 'Marwnad, neu Goffadwriaeth o ddedwydd Farwolaeth rhai o Weinidogion ffyddlon yr Efengyl; a ymadawodd â'r byd hwn yn ddiweddar, yn Neheudir Cymru: sef y Parchedig Mr. Howel Davies, yn Sir Benfro; Mr. William Richard, yn Sir Aberteifi; a Mr. Sion Parry, yn Sir Gaerfyrddin, ynghyd ag amryw eraill o'r Saint fu yn cyd-addoli Duw gyda rhai o honom yn y Byd presennol, sydd heddyw yn holl-iach yn y Byd tragwyddol. Gan Morgan Rhys.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Ross. 1770.'

* *Hanes y Bedyddwyr*, gan Thomas a Jones; *Yr Adolygydd*, 1851, t. 334-339; *Methodistiaeth Cymru*, cyf. i. t. 487.

13. ¶ 'The Scourge for the Assirian the great Oppressor, according to the Slaughter of Midian, by the Anointing, Esai. 10, 26, 27. Collected out of the Works of Ancient Authors.

Salop: Printed by W. Laplain.'

Gwaith Wm. Erbury yw y llyfr, gyda llythyrau Wm. Erbury a Morgan Llwyd, gyda 'Poem, made by John Cenick, found in his Pocket Book after his Decease.' Y cyhoeddwr ydoedd

THOMAS MEREDITH, yr hwn oedd yn byw yng Nghoed y Rhos, Mochdref, ger y Dref Newydd, yn sir Drefaldwyn, ac a ymunasai yn foreu iawn â'r Methodistiaid; ac efe a osodwyd fel math o gynghorwr a blaenor arnynt yn y gymmydogaeth, tua'r fl. 1745. Pan ymranodd y Methodistiaid â Howel Harris, ymlynodd T. Meredith wrth Harris, ac aeth ato i Drefecca, lle y bu am beth amser, lle y gwyrodd at egwyddorion y Cyfrinwyr, ac ymneillduodd gyda rhyw nifer o dan arweiniad Thomas Sheen ac ereill, a phan ddaeth yn ol, gwnaeth ymdrech a fu yn gryn lwyddiannus i dynu dysgyblion ar ei ol yn sir Drefaldwyn;* ac i'r dyben o ledaenu yr egwyddorion hyny, yr ymddengys y cyhoeddwyd y llyfryn uchod, gan eu bod yn benthyca llawer oddi wrth Erbury, Llwyd, &c.

14. 'Gorchestion Beirdd Cymru neu Bigiadau dewisol o waith y Prydyddion o'r amrywiol oesoedd. Gan Rice Jones, o'r Blaenau, yn Sir Feirionydd.'

RICE JONES ydoedd fab hynaf John Jones, Ysw., o'r Blaenau, Llanfachraith, ger Dolgellau, yn sir Feirionydd, lle y ganwyd ef yn y fl. 1713. Cafodd ei ddysgeidiaeth yn hen Ysgolion Gramadegol Dolgellau a'r Mwythig, gyda bwriad iddo arferyd y gyfraith; ond gan i'w dad farw pan oedd yn 18 oed, efe a benderfynodd aros gartref, lle y treuliodd ei oes fel boneddwr gwledig. Cyhoeddwyd llyfr o'i Weddillion Barddonol yn 1818 gan ei ŵyr. Yr oedd yn un o'r beirdd enwocaf yn ei amser. Ei fai oedd ei ysgafnder. Bu farw Chwefror 14, 1801, yn 88 oed.†

15. 'Difyrrwch i'r Pererinion o Fawl i'r Oen: yn cynnwys Hymnau ar amryw Destynau o'r Ysgrythur lân; ac Ymddiddanion rhwng Y Pererinion Gwyr a Gwragedd. Y Drydedd ran.‡ Gan mwyaf wedi eu cymmwyso i'w canu mewn Cymdeithasau Crefyddol. Gan David Jones, o Lanwrda.

Caerfyrddin, Argraphwyd, tros yr Awdwr, gan J. Ross. M,DCC,LXX.' [12plyg.]

16. 'Y Seren Foreu, neu Ganwyll y Cymry. Gan Rhys Pritchard, A.M. Gynt Ficar Llanymddyfri. At yr hyn y chwanegwyd ynghylch 359 o Benillion a gymerwyd allan o Scrifen-Law

* *Methodistiaeth Cymru*, cyf. ii. t. 373-4; *Drych yr Amseroedd*, t. 138-145.

† Williams's *Dictionary of Eminent Welshmen.*

‡ Gwel rhif 6, d.f. 1763; a rhif 27, d.f. 1766.

yr Awdwr ei hun, pa un nas Cyhoeddwyd yn yr Argraphiadau Cyntaf.

A gyhoeddwyd ac a Argraphwyd yn Llanymddyfri gan R. Tomas. [Pris 3s. 6c. bound.] M,DCC,LXX.'

Yr oedd hwn y pedwerydd argraffiad ar ddeg, o leiaf, er na chofrestrwyd eto ond naw, oddi eithr y 'Pigion' a gyhoeddwyd ddwywaith.* Y mae i'r argraffiad hwn Ragymadrodd gan Rhys Tomas, ac i hwnw Olysgrifen, yn dywedyd:—

'Fy Nghydwladwy, Trefnodd Duw, Awdwr pob Daioni i 'scrifeniadau yr Awdwr Duwiol hwn gael eu rhoddi i mi i wneuthyr y gorau o honynt, ac wrth eu chwilio, deallais mai ei Bregethau oedd y rhan fwyaf o honynt, pa rai a gadwyd yn ei Lyfr-gell ef yn Llanymddyfri, er dydd ei Farwolaeth hyd nes iddynt ddyfod i'm Llaw. Ac os rhydd Duw i mi amser, anturiaf gynnig rhai o honynt i'm Cyd-Wladwyr yn Argraphedig; gan hyderu nas cant lai derbyniad genych, nag a roddasoch i'w Garolau. Y Llyfr cyntaf fydd gwerth 1s. Pwy bynnag a'i chwenycho anfonant eu Henwau ymma yn ddi-draul, fel y gwybyddwyf y Rhifedi a allwyf Argraphu; y hyn a fydd yr un Llythyren a Phapur a hwnn. R. Tomas.'

Ond ymddengys na chafwyd cefnogaeth ddigonol, ac felly y maent yn wir wedi eu hollol ddinystrio.†

17. 'Llythyr oddiwrth Gymmanfa o Weinidogion, at yr amryw Eglwysi, i ba rai y maent yn perthynu.

Llanymddyfri: Argraphwyd gan Rys Tomas, 1770.'

18. 'Defnyddiol Hymnau i Breswylwyr y Graig. Gan Morris Griffiths, ger llaw Hwlffordd.

Trefecca, Argraphwyd dros yr Awdwr. M,DCC,LXX.'

MORRIS GRIFFITH ydoedd o Gaerbyddyn, yn agos i Langybi, yn Eifionydd, sir Gaernarfon. Dechreuodd gyda chrefydd gyda'r Ymneillduwyr yn y Glasfryn Fawr. Symmudodd Wm. Prichard, oedd yn byw yno, o Fon, o blegid yr erlidigaeth, a symmudodd yntau gydag ef, fel gwasanaethwr, ac mae yn debyg mai yno y dechreuodd bregethu. Symmudodd i sir Benfro, lle y bu gryn amser mewn cyssylltiad â'r Methodistiaid. Yr oedd yn byw yn Prendergast, ger Hwlffordd. Ymunodd â'r Bedyddwyr cyn diwedd ei oes, ac ordeiniwyd ef fel cynnorthwywr gweinidogaethol. Bu farw yn 1805.

19. 'Llyfr Gweddi Gyffredin, a Gweinidogaeth y Sacramentau, a Chynneddfau a Seremoniau eraill yr Eglwys, yn ol Arfer Eglwys Loegr: Ynghyd â'r Sallwyr, neu Salmau Dafydd, Wedi eu nodi megis ac y maent i'w canu neu i'w dywedyd mewn Eglwysydd.

* Gwel rhif 1, d.f. 1646; rhif 2, d.f. 1670; rhif 6, d.f. 1672; rhif 1, d.f. 1681; rhif 12, d.f. 1714; rhif 1, d.f. 1721; rhif 6, d.f. 1725; rhif 14, d.f. 1740; rhif 19, d.f. 1766; a hwn yma.

† Rhagymadrodd y Proffesor R. Rees i argraffiad Rees o *Ganwyll y Cymry.*

Caer-Grawnt: Printiedig gan J. Archdeacon, Printiwr i'r Brif-Ysgol. M.DCC.LXX.'

Y mae hwn yn llyfr 8plyg hardd, yn wir yn un o'r llyfrau harddaf a gyhoeddwyd yn y ganrif hòno. Nid ydys wedi gweled dim o weithiau yr oes hòno yn dlysach na chywirach na hwn. Yr oedd ei wneuthuriad yn gostus iawn; canys y mae yn cynnwys a ganlyn:—Ceir fel addurn rhagddalenol, Arf-arwydd Cymdeithas y Cymmrodorion, o blegid ymddengys mai dan ei nodded hi, pan oedd Richard Morris, o Swyddfa'r Llynges, yn llywydd, y cafodd ei gyhoeddi, ac yn ddiau o dan ei olygiad ef, er gwasanaeth personol a theuluaidd boneddigion ag oeddynt yn aelodau o'r Gymdeithas hòno. Nid oeddynt o fewn cyrhaedd y cyffredin, ac felly anaml iawn y gwelir cyfargraff o honynt. Ceir ynddo yr 'Hyfforddiadau i Ymddygiad Defosiynol,'* yna gwyneb-ddalen gerfiedig hardd, yn cael ei hamgylchynu gan golofnau addurnedig â dail, ac ar y pen uchaf pais arfau Tywysog Cymru, ac yn agos i'r gwaelod pais arfau y deyrnas. Oddi fewn y mae teitl fel hyn:—'Gwasanaeth Cyhoedd Eglwys Loegr; Wedi ei addurno â LIV o Ddarluniadau Newydd Ystorïawl: A Ddychymygwyd gan S. Wale; ac a Dorrwyd ar Efydd, gan Ravenet, Grignion, Scotin, Canot, Walker, a Ryland.

Llundain: A Fwriadwyd gan Risiart Morys, LL.C.C. Ac i'w cael gantho ef, yn y Lle a elwir y *Navy Office*. 1755.'

Y mae rhai o'r cerfluniau yn ardderchog, yn enwedig rhif I. sy'n gwynebu yr wyneb-ddalen. Y mae yr arlun, fel y traethir dano,—'Y Wraig mewn gweddus wisgiad, a'i brenhinol Goron, a arwyddocâ Eglwys Loegr; Pen pa un yw'r Brenhin. Mae hi yn sathru ar Gleddyfau, Cadwyni, &c. i ddangos mor ffiaidd ganthi Erlidigaeth: a'r Gangen Olewydd a ddengys ei hoffder i Heddwch. Mae ei llaw ddehau yn cyfeirio at y Bibl agored (a gynhelir gan Blant angylaidd â Chap Rhyddid). i ysbysu ei chariad i'r Gwirionedd, a'r rhyddid y sydd i'r holl Aelodau i chwilio 'r Ysgrythyrau. Y Mitr a'r Goron, a ddengys ei Llywodraeth Esgobawl; a'r Bara a'r Gwin, y Sacrament a roddir yn y ddau ryw i'r Llygion. Rist. Morys a'i 'sgrifennodd.' Y mae gwyneb-ddalen arall i'r 'Llyfr Gweddi Gyffredin,' â'i amseriad yn 'M.DCC.LXX.'† Blaenorir hyn gan yr 'Act am Unffurfiad,' a'r 'Calendar,' yn dechreu yn 1752. Wedi ffurfiau y gwasanaeth cyhoeddus, ceir yr 'Erthyglau Crefydd,' yng nghyd â 'Gosodedigaethau a Chanonau Eglwysig.' Yna y mae wyth tudalen o donau, er esiampl i ganu y Salmau; ar eu pen uchaf y mae y nod hwn:—'Noda, yn lle ch, dd, ff, ll, ng, ph, rh, th, o ran Prinder lle,' h.y. yn y geiriau sy'n cydredeg a'r nodau, 'darllenwch $c_3$, $d_3$, $f_3$, $l_3$, $n_3$, $p_3$, $r_3$, $t_3$.'‡ Ar y gwaelod dywedir, 'Y Psalmau gweddiau a ddylyd eu

* Gwel rhif 29.

† Gwel rhif 26, d.f. 1770.

‡ [Math o nodyn nid annhebyg i'r ffugren 3 sydd o dan y llythyrenau hyn; ond nis gellir ei arddangos yn gywir heb fwrw llythyrenau i'r perwyl hwnw.]

canu ar y Peroriaethau lleddfon: a'r Psalmau mawl ar y Peroriaethau Crason;' ac ar y diwedd dywedir, 'Yr 8 diweddaf o Gyfansoddiad Ifan Wiliam.' Diweddir gyda chyfansoddiad y Salmau gan Edmund Prys.*

Bu argraffydd yr argraffiad tlws hwn, J. Archdeacon, farw yn Hemingfford Abbots, Medi 10, 1795, yn 70 oed.†

20. ¶ 'Catecism, neu Egwyddorion Crefydd. Wedi eu haddasu at Gyrhaeddiad Pobl ieuaingc a Phlant; Gyda Phrawfiadau Ysgrythurol. Gan Henry Read. Wedi ei gyfieithu allan o'r Saesoneg.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan I. Ross, yn Heol-Awst, tros y Parch. Mr. Josia Rees, o Gelli-onnen: Ac ar werth gan Mr. Jones, Gwerthwr-Llyfrâu yn Aberhonddu; a Mr. Rhyddero, Gwerthwr-Llyfrau, yn Gaerfyrddin. (Pris Dwy Geiniog).'

Ymddengys mai y cyfieithydd a chyhoeddwr ydoedd y Parch. JOSIAH REES, yr hwn oedd fab i'r Parch. Owen Rees,‡ o Gefn Arthen, ger Llanymddyfri, ac wedi hyny o Aberdâr. Yr oedd yn byw yn y Gelli Gron, lle a brynasid gan ei ail fab, Owen Rees, yr hwn oedd gyfranog â Longman a'i Gyf. fel llyfrwerthwyr yn Llundain; ac yr oedd yn weinidog y Presbyteriaid yn y Gelli Onen, lle sydd yn awr ym meddiant y Sosiniaid. Ei fab hynaf oedd y Dr. Thomas Rees, awdwr y rhanau o'r 'Beauties of England and Wales' ag sydd yn cynnwys siroedd Deheudir Cymru, yn ddwy gyfrol. Cyhoeddodd bregeth o'i gyfieithiad yn 1805, o waith un Pyle, ar 'Ddrwg Fuchеddau dynion fel achos o Anghrediniaeth,' mewn cyssylltiad â dwy bregeth gan y Parch. John Davies, person Llanddetty, ym Mrycheiniog.

21. 'Marwnad i'r Parchedig Mr. Lewis Lewis, Gweinidog yr Efengyl gynt yn Pencadair, ym Mhlwyf Llanfihangel. Yr hwn a ymadawodd â'r Byd y 27 Dydd o Fis Gorphenhaf, yn y Flwyddyn 1770. At ba un y chwanegwyd, Odl am Lwyddiant yr Efengyl. A gyhoeddwyd ar ddymuniad amryw o Aelodau yn perthyn i Gynnulleidfaoedd y rhagddywededig Mr. Lewis Lewis. Gan Stephan Ifans.

Caerfyrddin, Argraffwyd tros yr Awdwr, gan I. Ross, yn Heol-Awst, Lle mae ar werth ychydig nifer o'r Llyfrau rhagorol a elwir Achosion Cydwybod. 1770.'

Yr oedd Mr. Lewis yn byw yn y Ddôl Wen, Llanfihangel ar Arth, yn sir Gaerfyrddin. Ychydig o flynyddoedd y bu yn y weinidogaeth.§

* Gwel rhif 34, d.f. 1770.

† Timperley's *Dictionary*.

‡ [Yn rhif 11, d.f. 1771, dywedir mai mab i'r Parch. Lewis Rees, a brawd i'r Dr. Abraham Rees, ydoedd Josiah Rees, o'r Gelli Onen.]

§ *Hanes yr Ymneilldiwyr*, gan Morgan.

22. 'Hanes Gywir o Drial William Spiggot neu Spicket, John Spiggot neu Spicket William Morris William Thomas neu Blink David Morgan, neu Eurych Diog William Walter Evan, Charles David Morgan a'i Fab Llywellin. Pa rai a driwyd ar Ddydd Mercher yr 28 o Fawrth 1770 yn Henffordd o flaen yr anrhydeddus Mr. Baron Perrot, a Mr. Justice Yates, am y Galanastra Annynol y wnaethant ar William Powell o Lanaraeth yn Sir Gaerfyrddin, Pendefig.

Llanymddyfri: Argraphwyd gan R. Tomas, 1770.'

4plyg bychan ydyw. Ar gefn y fyneglen y mae 'At y Cymry,' gan 'Daniel Tomas Argraphydd,' yn yr hwn yr hysbysa mai efe a'i cyfieithodd, y grwgnach o herwydd diffyg amgeledd a ga y Gymraeg, ac y crybwylla yn barchus am y '*Cymmrodorion Society*.'* Rhoddwyd yr hanes hefyd yn rhifynau 'Trysorfa Gwybodaeth, neu Eurgrawn Cymraeg.'† Cyhoeddwyd yr unrhyw yn Seisonaeg hefyd, yn dwyn y teitl canlynol:—

'The Trial of William Spiggot, alias Spickett, John Spiggot, alias Spickett, Wm. Thomas, alias Blink, David Morgan, alias Lacy, Wm. Walter Evans, Cha. David Morgan, Wm. Charles, and David Llewellin, For the Murder of Will. Powell, Esq; of Glanareth, in the Parish of Llangaddock, in the County of Carmarthen; At the Assizes held at Hereford, On Wednesday the 28th of March, 1770; Before Sir Joseph Yeats, Knt.

Glocester, Printed by R. Raikes; and sold by S. Bladon, in Paternoster-Row; C. Badham and M. Davies in Hereford; P. Davies in Leominster; H. Berrow in Worcester; J. Evans in Carmarthen; the Booksellers in Bath and Bristol; and by the Distributors of the Several Newspapers, &c. &c.'

Y mae yn hwn arlun teg o'r llofruddiaeth.

23. 'The Christian Covenant, or the Baptismal Vow, as Stated in our Church Catechism, Scripturally explained by Questions and Answers. With Account of the Creation and Fall of Man, the Covenant of Works. The Third Edition.‡ By a Minister of the Church of England.

London: Printed by J. and W. Oliver, in Bartholomew-Close, Printers to the Society for Promoting Christian Knowledge. MDCCLXX.'

* *Llythyr* y Parch. W. Thomas, Bwlch Newydd.

† Gwel rhif 2.

‡ Gwel rhif 9, d.f. 1762.

24. ¶ 'Aleluia Drachefn: Neu, Dair Rhan o'r Hymnau a Gyfenwid Ffarwel Weledig, &c. Wedi eu hargraphu yn un Llyfr, a'u Diwygio. Gan W. Williams.

Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth dros yr Awdwr gan Ioan Daniel.*

25. 'Letters from Snowdon: Describing a Tour through the Northern Counties of Wales. Containing the Antiquities, History, and State of the Country: with the Manners and Customs of the Inhabitants.

London, Printed for J. Ridley,† in St. James's Street; and W. Harris, No 70 St. Paul's Church-Yard. MDCCLXX.' [8vo.]

Dywedir mai Jos. Craddock, Ysw., F.R.S., oedd ysgrifenydd y Llythyrau hyn. Cyhoeddwyd argraffiad o honynt yn Dublin yr un flwyddyn.

26. 'Cicero's Brutus, or the History of the famous Orators; also his Orator, or Accomplished Speaker. Now first translated into English, &c.'

London, 1770, 8vo. 6s.

Y cyfieithydd ydoedd E. Jones, Bardd y Brenin.

[Nid oes mo'r berthynas leiaf rhwng y gwaith hwn a Chymru a'i llenoriaeth, oddi eithr ei fod, fel yr ymddengys, yn waith rhyw Gymro: ond yr wyf o'r farn fod ein hawdwr wedi camgymmeryd yr amseriad, ac wedi priodoli y cyfieithiad i wr cyfenw i'r un a gymmerodd y boen wrtho. Nid oedd Edward Jones (Bardd y Brenin), yr hwn a aned yn 1752, y pryd hwn ond 18 oed; a diau mai nid gwaith llencyn o'r oedran hwnw ydyw cyfieithiad mor rhagorol. Dywed y Dr. Adam Clarke,‡ mai yn 1776, chwech mlynedd yn y blaen, y cyhoeddwyd y gwaith, pryd yr oedd Bardd y Brenin yn 24 oed, ac wedi bod yn Llundain yn chwareu ei delyn yng nghylch dwy flynedd. Nid oes ond ychydig o ammheuaeth yn fy meddwl mai Edward Jones, o'r Deml Fewnol, awdwr 'Index to Records,' 2 gyfrol unplyg, 1795, a 'Chyfraith Plwyf,' 12plyg, 1794, ydyw y cyfieithydd gwirioneddol. Am ansawdd y gwaith, dywed y Dr. Clarke ei fod yn gyfieithiad o fwy teilyngdod na chyffredin, a'i fod yn ffyddlawn, yn hoewych, ac yn eglur.]

27. 'Anti-Pamela, or Memoirs of James Parry and Parthenissa. 2 Vols. 3rd Edition. 1770.'

28. 'Hyfforddiadau i Ymddygiad Defosiynol a Gweddus yng Ngwasanaeth Duw; Yn fwy enwedigol yn yr Arferiad o'r Weddi Gyffredin a appwyntiwyd gan Eglwys Loegr.

Caer-grawnt: Printiedig gan J. Archdeacon, Printiwr i'r Brif

* [Ymddengys mai yn y flwyddyn hon y dechreuodd Ioan Daniel argraffu: ond gweler rhif 19, d.f. 1784.]

† Cafodd Joseph Ridley wobr o 42*p.* yn 1795, gan y Gymdeithas er Cefnogi y Celfyddydau, am wneyd gwellâd yn yr argraffwasg.—Timperley's *Dictionary.*

‡ *Bibliographical Miscellany*, i. 44.

Ysgol, tros Edward Ryland: Ac ac werth gantho yn ei Dy, No 67 yn yr Old Bailey, Llundain, MDCCLXX.'

29. 'Eglurhad o Ddawn yr Yspryd; sef Sylwedd Pregeth yn Ebenezer, yn Sir Benfro, y deufed dydd ar bymtheg o Ragfyr, 1769. Yn cael ei gwneuthyr yn gyhoeddus fel hyn, er mwyn y Gynnulleidfa yno, ar eu Dymuniad. Gan W——. W——.

Caerfyrddin, Argraffwyd tros yr Awdwr, gan I. Ross, yn Heol-Awst. MDCCLXX.'

WILLIAM WILLIAMS ydoedd fab i William ac Ann Williams, o'r Dref Fach, Llan Nant Gwyn, yn sir Benfro, lle y ganwyd ef yn 1732. Cafodd ddysgeidiaeth gyffredin dda, gyfaddas i lenwi ei gylch fel boneddwr gwledig. Ymbriododd yn 1751 â Miss Bowen, Llwyn y Gwair[ger Trefdraeth], yn sir Benfro; ac eilwaith ag un Miss Morgan; a thrydedd waith yn 1784, â Miss Lewis, o Lwyn y Grawys, yn yr un sir. Bedyddiwyd ef yng Nghilfywyr, Mawrth 2, 1760, pan ydoedd yn 28 oed, a dechreuodd bregethu yn fuan; ac ordeiniwyd ef yn gynnorthwyol i weinidog Blaen y Waen, yn 1766. Yn 1774-5 daeth i fyw i dref Aberteifi, a bu yn offerynol i godi achos y Bedyddwyr i gyfrifiaeth a phoblogrwydd mawr yno. Gwnaed ef hefyd yn Ustus yr Heddwch dros siroedd Penfro ac Aberteifi, yr hyn oedd dra rhyfedd, pan oedd gweithredoedd y *Test and Corporation Act* mewn grym, yn gofyn i bob un a lanwai swydd o anrhydedd neu elw dan y llywodraeth, gymmeryd Swper yr Arglwydd yn yr Eglwys Sefydledig, cyn pen blwyddyn ar ol ei osodiad yn ei swydd, ac unwaith, o leiaf, bob blwyddyn ar ol hyny, dan boen o ddirwy drom, a cholli ei swydd. Bu Mr. Williams er hyny yn y swydd dros lawer o flynyddau heb ymostwng unwaith i'r prawf hyny o gydymffurfiad ag Eglwys Loegr. Dichon ei fod yn gallu gwneyd hyn o dan gysgod yr *Act of Indemnity*, yr hon oedd yn diogelu swyddogion rhag cosp am y cyfryw droseddau, yn y flwyddyn a aeth heibio. Yr oedd yr ardal ag yr oedd yn byw ynddi yn llai erlidgar nag ardaloedd ereill, ac yntau ei hun o gymmeriad uchel fel gwr boneddig, yr hyn yn ddiau a wnaeth lawer yn ei ffafr. Byddai yn cael y flaenoriaeth yng nghyfarfodydd yr Ustusiaid, ac yn gadeir-iwr y Brawdlys Trimisol. Bu farw Awst 13, 1799, yn 76 oed, a'r 32fed o'i weinidogaeth.*

30. 'Y Bummed Ran o Ganiadau Seion; neu Hymnau ac Odlau Ysbrydol. Gan John Thomas, Gweinidog yr Efengyl gerllaw'r Ffynhonnau, ac yn Rhaiadr Gwy, Sîr Faesyfed.

Trevecca: Argraphwyd yn y Flwyddyn MDCCLXX.'†

31. 'History of the Gwydyr Family. By Sir John Wynn.'‡

* *Hanes y Bedyddwyr*, gan Jones, t. 79-85, 240.

† Gwel rhif 12, d.f. 1762; a rhif 13, d.f. 1764.

‡ Gwel rhif 41, d.f. 1781. Rhoddwyd hefyd argraffiad arall gan Angharad Llwyd yn 1827. [Gesyd yr awdwr nod ammheuaeth (¶) o flaen dyddiad yr argraffiad hwn; ond nid oes ammheuaeth nad y flwyddyn hon y cyhoeddwyd ef. Ei golwynydd ydoedd yr Anrh. Daines Barrington.]

32. ¶ 'Some Observations on Passages of Scripture; and Letters by Thomas Meredith.

Salop Printed by W. Laplain.'*

33. 'Llyfr y Salmau, Wedi eu Cyfieithu, a'u Cyfansoddi ar Fesur Cerdd, yn Gymraeg. Trwy Waith Edmund Prys, Arch-ddiacon Meirionydd.

Caer-grawnt: Printiedig gan J. Archdeacon, Printiwr i'r Brif-Ysgol. M.DCC.LXX.'

Yr oedd hwn yn gyssylltedig â Llyfr Gweddi Gyffredin y flwyddyn hon.†

## 1771.

1. 'Gweledigaethau Dirnadwy; neu Ddehongliad i'r Breuddwydion o amryw ystyriaethau, wedi eu casglu allan (gan mwyaf) o Scrifeniadau gwerthfawr yr hên Gymry.

Caerfyrddin."

2. 'Gloria in Excelsis. Neu Hymnau o Fawl i Dduw a'r Oen. Y rhan gyntaf. Gan Wm. Williams.

Llanymddyfri."

3. 'Hunan-Adnabyddiaeth: neu Draethawd, yn dangos Natur a Mantais y cyfryw Wybodaeth Bwysfawr, a'r Ffordd i'w Chyrhaeddyd: ynghymmysg ag amryw o Ystyriaethau ar y Natur Ddynol. Gan John Mason, A.M. Wedi ei Gyfieithu yn Gymraeg gan Josiah Rees.

Caerfyrddin, Argraphwyd dros y Cyfieithydd gan J. Ross: 1771. Ar werth hefyd gan Dafydd Jones, Aberhonddu; Dafydd Morgan, Castell Nedd; R. Rhydderch, Gwerthwr-Llyfrau, yng Nghaerfyrddin, a — Jenkins, Gwerthwr-Llyfrau, Bontfaen. [Pris Swllt heb ei rwymo].' [12plyg.]

4. ¶ 'Canwyll y Cymry, gan Rees Prichard.'

Yr oedd hwn y pymthegfed argraffiad, er na restrwyd eto ond un ar ddeg, heb law y 'Pigion' a gyhoeddwyd ddwywaith.‡

5. 'Welsh and English Dictionary, gan W. Evans.

Carmarthen.'

* Gwel rhif 13.

† Gwel rhif 19, a 28.

‡ Gwel rhif 1, d.f. 1646; rhif 2, d.f. 1670; rhif 6, d.f. 1672; rhif 1, d.f. 1681; rnif 9, d.f. 1700; rhif 1, d.f. 1721; rhif 14, d.f. 1740; rhif 19, d.f. 1766; rhif 16, d.f. 1770; a hwn yma.

Gwnaeth y Parch. T. Richards, Llangrallo, welliadau yn yr argraffiad hwn.*

[Pwy oedd y Parchedig WILLIAM EVANS, awdwr y Geirlyfr hwn? Nid oes cymmaint a gair am dano yn neb o'n coffaon; ond eto yr oedd yn awdwr Geiriadur Seisoneg a Chymraeg nid anghyfrifol. 'A Welsh and English Dictionary,' medd ein hawdwr; ond 'An English and Welsh Dictionary' a ddylasai fod; canys y *Seisoneg* sy flaenaf ynddo.]

6. 'Gweinidog wedi marw yn llefaru eto, sef cynnwysiad Dwy Bregeth a bregethwyd Tachwedd 11, 1770, ar farwolaeth y Parchedig Gô. Whitfield, A.M. gyn o Goleg Penbro yn Rhydychen, Chaplain yr Anrhydeddus Iarlles Huntingdon. Gan y Parch. Mr. David Edwards. A Gyfieithiad i'r Gymraeg y Parch. Mr. P. Williams.

Caerfyrddin, Argraphwyd tros y Cyfieithydd gan J. Ross. 1771. [Pris Dwy Geiniog.]'

7. 'Trysorfa Auraidd i Blant Duw, trysor y rhai sydd yn y Nefoedd; yn cynnwys Testynau dewisedig o'r Bibl, a Sylwadau ysbrydol a phrofiadol, am bob dydd yn y flwyddyn. Ysgrifenwyd gan C. H. V. Bogatsky. Ynghyd a Hymnau a ddewiswyd at bob un o honynt, o waith y Dr. Watts.

Trefecca, Argraphwyd dros y Cyfieithydd, yn y flwyddyn 1771.'

Y mae hwn yn lyfr trwchus, dros 360 o dudalenau, ac yn agor yn ei dalcen, fel llyfrau canu. Y cyfieithydd a'r cyhoeddydd ydoedd y Parch. John Thomas, gynt gweinidog yr Ymneillduwyr yn Rhaiadr Gwy, Cae Bach, &c., yn sir Faesyfed; ond y mae rhagymadrodd byr, o dan y peniad o 'Y Cyfieithydd at y Darllenydd,' wedi ei arwyddo a'i amseru fel hyn: 'J. T.' 'Manafon, Sir Drefal. Medi 3. 1771.'

8. 'Llewyrchiadau Gras o dan yr hên Oruchwyliaeth, mewn Hymnau ar Destynau Ysgrythyrol. Hefyd Lloffion o Hymnau'r Dr. Watts, yn perthyn i'r llyfr Trysorfa Auraidd, &c.† Gan J. T.‡

Trefecca; Argraphwyd dros yr Awdwr. M DCC LXXI.'

9. 'Pregeth ar Farwolaeth y Parch. G. Whitfield, A.M. Gyda pheth o hanes ei fywyd. Gan J. Wesley, A.M. Cyfaill (gynt) o Brif-Ysgol Lincoln, yn Rhydychen, a Chapelwr y wir anrhydeddus Iarlles Waddolog Buchan.

Pontfaen, Argraphwyd gan Rhys Thomas, tros y cyfieithydd Henry Lloyd. 1771.'

Ymddengys fod y cyfieithydd a'r cyhoeddydd,

* Titlepage of Edition 1832. [1812 ?]

† Gwel rhif 7.

‡ Y Parch. John Thomas uchod.

Henry Lloyd neu Harri Llwyd, yn frodor o Rydri, ger Caerphili, yn sir Forganwg. Ymunodd â Mr. Wesley, a dechreuodd bregethu yn fuan. Bychan oedd ei ddoniau, ond yr oedd yn ddyn duwiol, gonest, a da.* Gan ei fod yn alluocach i bregethu yn Gymraeg nag yn Seisonaeg, treuliodd ei holl amser yn teithio yn Neheubarth Cymru,† oddi eithr unwaith yr anfonodd Mr. Wesley ef i Gernyw; lle y cyfarfu ag erlidigaeth orwyllt, a phan oedd yr erlidwyr yn ei faeddu, yn eu cynddaredd, efe a droes i weddïo yn Gymraeg, yr hyn a newidiodd agwedd yr holl dorf; meddyliasant ei fod yn rhywbeth goruchnaturiol, a chafodd lonyddwch. Bu yn llafurio lawer o flynyddoedd; a bu farw yn dangnefeddus, mewn oedran teg, wedi treulio ei gyfansoddiad allan yn llwyr, lawer o flynyddoedd cyn sefydlu yr achos Wesleyaidd Cymreig yn y Dywysogaeth.‡

10. 'The Circles of Gomer, or, an Essay towards an Investigation and Introduction of the English, as an Universal Language, upon the first Principles of Speech, according to its Hieroglyfic Signs, Argrafic Archetypes, and superior Pretensions to Originality; a retrieval of original Knowledge; and a re-union of Nations and Opinions on the like Principles, as well as the Evidence of ancient Writers; with an English Grammar, Some Illustrations of the Subjects of the Author's late Essays,§ and other interesting Discoveries. By Row. Jones, Esq.

London, Sold by S. Crowder, in Pater-noster Row; Richardson, and Urquhart, at the Royal Exchange; P. Elmsley, in the Strand; and J. Almon, in Piccadilly. 1771.'

11. 'Rhai Rheolau a Chyfarwyddiadau a gynnygiwyd er cynnyddu Cyfeillach Grefyddol ym mhlith Crist'nogion, ynghyd a Hymn ar Dymmer Lonydd. O waith y Parchedig Mr. Lewis Rees.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Ross. 1771.'

Y Parch. Lewis Rees ydoedd fab i Rees Edward Lewis, o'r Glyn Llwydrew,|| ym mhlwyf Glyn Corwg, yn sir Forganwg, lle y ganwyd ef Mawrth 2, 1710. Yr oedd ei daid yn offeiriad plwyf Penderyn, yn sir Frycheiniog, ond ei rieni yn aelodau gyda'r Presbyteriaid ym Mlaen Gwrach. Cafodd ei addysg o dan ofal Mr. Davies, yr hwn oedd y pryd hyny yn gweinidogaethu ym Mlaen Gwrach, ac ymunodd â'i gynnulleidfa. Bu wedi hyny dan ofal Mr. Simons, gweinidog Chwarelau Bach, ger Castell Nedd, a Mr. Price, Ty'n Ton, gweinidog Pen y

* Atmore's *Methodist Memorial*, p. 243.

† Pregethai yn lled fynych yn nhy Mr. B. Isaac, ar y Man Moel, ym mhlwyf Bedwellty; y rhai a berthynent i gynnulleidfa wreiddiol y Bedyddwyr Cyffredinol yng Nghraig y Fargod, ym mhlwyf Gelligaer, sir Forganwg.

‡ *Yr Eurgrawn Wesleyaidd*, 1848, t. 65, nodyn.

§ Gwel rhif 18, d.f. 1668; a rhif 15, d.f. 1769.

|| ['*Glynrhywdre*,' yn ol y *Cofiant* gan Roberts.]

Bont ar Ogwy. Oddi yno aeth i Ysgol Ramadegol Mr. V. Griffith, Maes Gwyn. Ar annogaeth neillduol, aeth gydag Edmund Jones, Pont y Pwl, i'r Gogledd, yr hyn a derfynodd yn ei ordeiniad ym Mlaen Gwrach, Ebrill 13, 1738, pan yn 28 oed, er mwyn gweinidogaethu yn y Gogledd, yn neillduol yn Llan Bryn Mair. Priododd yn 1740 â merch i foneddwr o'r enw Penry, o sir Frycheiniog, a bu iddynt chwech o blant—Josiah, a fu wedi hyny yn weinidog Gelli Onen; Abraham, yr enwog Ddr. Abraham Rees, o Lundain; Mary, Isaac, Jacob, ac Ebenezer. Yn 1745, symmudodd i Faes yr Onen, lle y bu hyd 1759, pan y symmudodd i Dŷ'r Dwncin, Morganwg. Wedi marwolaeth ei wraig yn 1794, symmudodd i Abertawe; ac yn olaf i Lansamlet, at ei ferch a'i fab yng nghyfraith, y Parch. J. Davies, lle y bu farw Mawrth 21, 1800, yn 90 oed, wedi bod yn y weinidogaeth 70 mlynedd.*

12. 'A Dissertation on the Welsh Language, Pointing out it's Antiquity, Copiousness, Grammatical Perfection, with Remarks on it's Poetry; and other Articles not foreign to the Subject. By John Walters, Rector of Landough, Glamorgan-shire.

Cowbridge, Printed to the Author, by R. and D. Thomas.† M,DCC,LXXI.' [8vo.]

Y Parch. JOHN WALTERS a anwyd mewn ty bychan ger llaw y Fforest, ym mhlwyf Llanedi, yn sir Gaerfyrddin, yn 1721.‡ Cafodd ei ddysg yn Rhydychain, lle y cyrhaeddodd radd A.C. Wedi cael urddau, cafodd bersoniaeth Llandocheu, ger y Bont Faen, yn sir Forganwg, a phrebendariaeth yn Llandaf; ac yr oedd hefyd yn ficar St. Hilari, yn yr un sir. Bu farw Mehefin 1, 1797,§ yn 77 oed.||

13. 'Taith y Pererin, tan Gyffelybiaeth Breuddwyd, &c. Wedi ei gydmaru oll yn ffyddlon â'r argraphiadau goreu yn Saesoneg, a'i ddiwygio o amryw feiau anafus; ynghyd â Rhagymadrodd a Diweddglo yr Awdwr, y rhai na buont erioed o'r blaen yn Gymraeg.

Caerfyrddin, argraphwyd ac ar werth gan J. Ross, yn Heol Awst. Ar werth hefyd gan Mr. Allen, yn Hwlffordd, a Mr. W. Jones, yn y Bala. 1771. [Pris naw ceiniog, gyda elw da i brynwyr amryw.]'

* *Yr Adolygydd*, 1852, t. 201-206. [Gweler hefyd *Ychydig o Hanes y diweddar Barchedig Lewis Rees:* gan John Roberts, Llanbrynmair. Caerfyrddin, 1812, 12plyg.]

† Rhys a Daniel Thomas, gwel rhif 22, d.f. 1770.

‡ [Yng Nghoflyfr Bedyddiadau plwyf Llanedi, cofnodir ei fedydd ef yn y geiriau canlynol:—'*Johannes filius Johannis Walterii 22 Augusti* 1721.'* Pentref bychan, neu dwr o deios, yw y Fforest, ac yn un o'r tai hyn, yn ol traddodiad yr ardal, y ganed y geirlyfrwr. Ymddengys mai rhai o Landdewi Brefi, yng Ngheredigion, ydoedd y Waltersiaid yn eu dechreuad; ac y mae yr enw yn gyffredin yn y parthau hyny hyd heddyw, er ei fod wedi diflanu yn Llanedi a'r cwmpasoedd. Y mae cangen arall o'r un Waltersiaid wedi ymsefydlu yn Llanymddyfri a'r gymmydogaeth.]

§ Williams's *Eminent Welshmen.*

|| *Y Brython*, 1863, t. 208.

* *Llythyr* y Parch. D. Williams, B.D.

Y mae rhagymadrodd, neu 'Gair at y Darllenydd,' yn ei ragflaenu, gan yr argraffydd, yn hysbysu pa gyfnewidiadau a gwelliadau a wnaed yn yr argraffiad hwn, ac yn sicrhau ei fod y goreu a ddaethai allan hyd hyny. Gellir ystyried hwn yn bedwerydd argraffiad o leiaf.*

14. 'The Welshman's Candle: or the divine Poems of Mr. Rees Prichard, sometime Vicar of Llandovery, in Carmarthenshire. Now first translated in English verse. By the Rev. William Evans, Vicar of Lanhaden.

Carmarthen, printed by J. Ross. M,DCC,LXXI.' [8vo.]

15. 'Pregeth a bregethwyd gan y Parchedig Mr. George Whitefield, yn y Tabernacle yn Llundain, Awst 30, 1769, ar ei ymadawiad i Georgia. Cyfieithwyd gan y Parchedig Mr. John Rowlands.

Llanymddyfri, argraphwyd gan Rhys Tomas. M,DCC,LXXI.'

Y mae yn ei ddiwedd ychydig o hanes marwolaeth Mr. Hervey.

[Testyn y Bregeth yw Ioan x. 27, 28; ac amcan ei thraddodiad ydoedd cael tanysgrifion neu gasgliadau at yr achos yn America. Llyfryn 12plyg o 24 tudalen ydyw.]

16. 'Pob Dyn ei Physygwr ei hun. Yn Ddwy Ran. Yn cynnwys I. Arwyddion y rhan fwyaf o glefydau ag y mae Dyn yn ddarostyngedig iddynt, ynghyd â Chynghorion rhagddynt, a gasglwyd o waith prif Physygwyr eu Hoesoedd. Gan Dr. Theobald, ac a gyhoeddwyd yn Saesneg trwy orchymyn ei ddiweddar Uchelradd Wiliam Duwc o Cumberland; at yr hyn y chwanegwyd amryw Gynghorion at yr un rhyw glefydau, allan o 'Sgrifeniadau hen Awdwr profedig. II. Yn cynnwys Cynghorion rhag y rhan fwyaf o glefydau ag y mae Ceffylau, Ychen, Gwartheg, Lloi, Wyn, a Moch yn ddarostyngedig iddynt: Gwedi eu casglu allan o waith Awdwyr profedig: Y cwbl yn cynnwys pethau isel bris a hawdd eu cael. Ynghyd a Thabl at bob Rhan. Tra chymmwys ac angenrheidiol ym mhob Teulu ac i bob Trafaeliwr. Newydd ei gyfiaethu i'r Gymraeg.

Caerfyrddin, Argraphwyd ac a werthir gan I. Ross. 1771.' [Pris chwe cheiniog heb ei rwymo.]'

17. 'Cynghorion Tad i'w Fab. Yn rhoddi iddo gyfarwyddiadau pa fodd i ymddwyn ei hunan yn y Byd presennol.

Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth gan I. Ross; ac ar werth hefyd gan y Parch. Tomas Wiliam, Mynydd bach. M,DCC,LXXI.'

* Gwel rhif 2, d.f. 1688; rhif 1, d.f. 1699; rhif 6 a 7, d.f. 1768; a hwn yma.

18. 'Taith y Pererin.

Argraphwyd yn y Mwythig, ac ar werth yno gan J. Eddowes. 1771.'

Yr oedd hwn yn bummed argraffiad o leiaf.* Mynych y cyfarfyddir â dau argraffiad yn yr un flwyddyn o'r hen lyfrau Cymreig—un yn y Deheudir, a'r llall yn y Mwythig i'r Gogledd.

19. 'Marwnad ar Farwolaeth y Parch. Mr. Morgan Jones o Blwyf Blaenau-Gwent, Gweinidog yr Eglwys ymgynnulledig yn y Neuadd, ym mhlwyf Pant-teg, Sir Fynwy; yr hwn a ymadawodd a'r fuchedd hon Ionawr 11, 1771. Yn y 55 flwyddyn o'i Oedran.

Argraphwyd yn y Bont Faen, gan R. Thomas.'

20. 'Y Catecism; hynny yw, Athrawiaeth i'w dysgu gan bob un, cyn ei ddwyn i'w conffirmio gan yr Esgob. Gyda ag Ysgrythyrol Testynau perthynasol.

Argraphwyd yn Llundain yn y flwyddyn M,DCC,LXXI.'

21. 'Llythyr oddi wrth Gymmanfa o Weinidogion at yr amryw Eglwysi, i ba rai y maent yn perthynu.

Llanymddyfri, Argraphwyd gan Rhys Tomas. 1771.'

22. ¶ 'Caniadau Dwyfol; wedi eu hamcanu mewn iaith esmwyth er budd a gwasanaeth i Blant yn Saisneg gan Isaac Watts, D.D. Ac a gyfieithwyd i'r Gymraeg gan Dafydd Jones, o Lanwrda.

Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar Werth gan I. Ross, yn Heol-Awst, ac ar werth gan Mr. R. Rydderch, Gwerthwr llyfrau, yng Nghaerfyrddin; Mr. Allen, yn Hwlffordd; Mr. D. Morgan, yng Nghastell Nedd; Mr. Beadles, yn Mhont y pwl; a Mr. Jones, yn Aberhonddu. M,DCC,LXXI. Pris Chwe' Cheiniog wedi ei rwymo.'

Cynnwys hwn 45 o dudalenau 8plyg. Nid oes iddo ragymadrodd; ond cyfieithiad o ragymadrodd y Doctor ar ddygiad plant i fyny. Y mae yn cynnwys talfyriad o'r Deg Gorchymmyn ar Gân, a welir mor fynych mewn llyfrau egwyddori plant; ond ni chydnabyddir eu bod yn waith Watts, ac o gyfieithiad D. Jones.

23. 'The Contemplative Man, or the History of Christopher Crab, Esq; of North Wales. Vol. I.†

London: Printed for J. Whiston, Fleet-Street. MDCCLXXI.'

24. 'An Account of the Convincement, Exercises, Services, and Travels, of that Ancient Servant of the Lord, Richard Davies. With

* Gwel rhif 2, d.f. 1688; rhif 1, d.f. 1699; rhif 6 a 7, d.f. 1768; rhif 13, uchod; a hwn yma.

† Yr wyneb-ddalen yr un modd i'r ail gyfrol.

Relation of Ancient Friends, and the Spreading of Truth in North Wales, &c. The Third Edition.

London: Printed and Sold by Mary Hind, at N° 2. George-Yard, Lombard-Street. 1771.'*

25. 'A Vindication of the Conduct of the Associated Ministers in Wales: with some Remarks on the late Declaration and Protest. By a Member of the Association.

Carmarthen, Printed by J. Ross, for R. Rhyddero, Bookseller and Stationer in the Market Place. M,DCC,LXXI. [Price Six-pence.]'

Llyfr yw hwn ar pynciau mewn dadl rhwng y Calfiniaid a'r Pelagiaid ym mhlith yr Ymneillduwyr yn Neheubarth Cymru, yn erbyn llyfr a gyhoeddasid gan y Dr. Jenkins, ac a ysgrifenasid, tybygid, gan y Dr. B. Davies.

26. ¶ 'Golwg ar y Ddinas Noddfa; Mewn Casgliad o Hymnau, i Ddifyrru y Pererinion, sydd yn teithio trwy Lyn Wylofain, i'r Breswylfa lonydd. Ynghyd â Marwnad, Ester, Gwraig Wiliam Sion, o'r Llawelau, ym Mhlwyf Lansawel, yn Sir Gaerfyrddin: Hi a fu briod ag ef 19 o Flynyddoedd. Gorphennodd ei Gyrfa yn 55 oed; Chwefror 5. 1770. Gan Morgan Rhys.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Ross, tros yr Awdwr, 17—' [Congl y ddalen ar goll.] ['Pris Dwy Geiniog.]'

27. 'A Letter to certain Dissenting Ministers in Wales occasioned by their forming an Association and Subscribing to certain Articles of Faith. With a Postscript, containing Remarks on a late Vindication of their Conduct. By a Layman.

Carmarthen, Printed for the Author by J. Ross; and sold by T. Rhydero. Bookseller and Stationer, near the Town Hall. 1771. [Price Sixpence.]'

28. ¶ ['Llythyr at bob Cymro Ewellysgar a garo ffyrdd y gwirionedd, wedi sylfaenu ar un gair hynny ydiw Cofia Pregethwr XII Pennod ar gair cynta or adnod gynta Cofia. O Waith Ellis Roberts, Cowper.

Argraphwyd yn Warrington gan William Eyres, Printiwr a Gwerthwr Llyfreu Tros Moses Evans o Llanddoged yn agos i Llanrwst. (Pris Tair Ceiniog.).' 12plyg: 28 tudalen.

Yn anffodus anghofiodd 'Elis y Cowper' osod y flwyddyn yr argraffwyd ef ar lawr; ond gan i'w 'Ail Lythyr' (rhif 20, d.f. 1772) ymddangos yng nghorff y flwyddyn nesaf, y mae yn debygol, mai o gylch yr amser hwn y gwnaeth y 'Llythyr' yma ei ymddangosiad. Duwinydd digrif o'r fath ddigrifaf ydoedd

* Gwel rhif 1, d.f. 1657; a rhif 3, d.f. 1705.

Elis; a dyma'r tro cyntaf iddo, medd efe, ysgrifenu, neu o leiaf gyhoeddi, dim mewn iaith rydd: ond y mae dernynau yma ac acw ar hyd y gwaith nad ydynt ryddiaith, a thebyg ddigon fod Elis yn medru gwneuthur barddoniaeth o honynt. Y mae yr iaith yn garbwl, glogyrnaidd, werinaidd, ac yn wallus i'r eithaf. Dyma yr hyn a eilw yr arddunol fardd yn Rhagymadrodd:—

'Dyma'r llythyr cyntaf iw osod
A neis i erioed heb fod ar draethod;
Derbyn hwn y Cymro mwynlân,
O law dyn gwael fel di dy hunan.

Cymerwch bawb fi yn Esgysodol,
O ran nad wy na doeth na duwiol;
Pedfawn medru gwneud daioni;
Fe fydde gan waith yn dda gan i.'

Ar y tudalen olaf, dywed y Cylchwr wrth y 'Cymro caredig,' er ei gysur a'i adeiladaeth, 'Ond bydded hysbys i ti ac i bob dyn, sydd yn hoffi y gwaeledd ddawn a dderbyniais i fod Llyfr y soniais i am dano yn dyfod allan ar fyr Damunad i ti hysbysu i bob Cymro, a garo Newydd glod i Dduw, o Garolau a Cherddi ar amryw fesurau.'

Tebygol mai hwn yw yr unig lyfr Cymreig a gafodd ei argraffu yn *Warrington;* a pha beth a barodd i'r pastynfardd, neu yn hytrach i'w gyhoeddwr Moses Evans, fyned yno i argraffu ei gynnyrchion, sy beth nad ydyw hawdd ei ddyfalu. O gylch canol y ganrif dan sylw, agorwyd athrofa gyfrifol gan yr Ymneillduwyr Henaduriaethol yn Warrington, a bu amryw o wŷr enwog yn athrawon ynddi. Pan oedd yr athrofa yn ei bri, gosodwyd i fyny yno argraffwasg, a daeth allan o honi amryw lyfrau o deilyngdod, mewn rhyddiaith a barddoniaeth. Ond prin y mae yn debygol mai enwogrwydd gwasg Warrington oedd yr achos i'r llyfryn hwn gael ei gargywain yno i'w argraffu.]

## 1772.

1. 'Eglwys yn y Tŷ: neu Bregeth am Grefydd-deuluaidd. Gan y Parch. Mathew Henry, Awdwr Esponiad ar y Bibl. At ba un y chwanegwyd Pregeth arall yn atteb yr Esgusodion yn erbyn Crefydd-deuluaidd. Gan y Parch. Job Orton. Wedi eu cyfieithu i'r Cymraeg gan Samuel Philips.

Argraphwyd yn y Mwythig, gan J. Eddowes. M,DCC,LXXI.'

2. 'Pum Pregeth ar y Testunau canlynol: Luc xxiii. 42. Rhad Ras yn wir. Rhuf. viii. 28. Happusrwydd y Duwiol. Dat. iii. 20. Llais y Durtur. Judas 9. Trech yw'r Gostyngedig nâ'r Balch. 1 Pedr ii. 2. Llaeth ysbrydol. At ba un y chwanegwyd, Amryw o Hymnau. Gan y Parchedig Mr. Daniel Rowland, Gweinidog yr Eglwys Newydd, gerllaw Llangeitho.

Caerfyrddin, Argraphwyd tros T. Davies, gerllaw Hwlffordd, yn Sir Benfro, gan J. Ross. 1772. [Pris Swllt.]' [12plyg.]*

* [Cynnwys gofres bur helaeth o danysgrifwyr, a phob un o honynt yn cymmeryd cryn nifer o lyfrau; ac yn eu plith y mae—'Rev. Peter Williams editor of the Welch-Bibles with Notes,' am gant: ond y mae rhai yn cymmeryd cymmaint arall a hyny; ac nid oes enw neb am lai na deuddeg.]

Ymddengys fod yr hen Fethodistiaid, neu'r Diwygwyr Methodistaidd Eglwysig, yn hwyrfrydig i gael eu hystyried yn amgen nag Eglwyswyr, er eu diarddel o'r Eglwys. Pan adeiladwyd capel i'r Methodistiaid, sef i Rowlands a'i bleidwyr, yn ymyl Llangeitho, wedi i'r gwr da hwnw gael ei gau allan o'r Eglwys, ymddengys na fynent ei alw yn gapel, na thy cwrdd, rhag cael eu hystyried yn Ymneillduwyr, eithr yr 'Eglwys Newydd,' ger llaw Llangeitho.

3. 'Tair Pregeth a bregethwyd yn yr Eglwys Newydd gerllaw Llangeitho, I. Newydd da i'r Cenhedloedd. Matt. ii. 8, 9...II. Crist oll yn oll. Heb. i. rhan olaf o'r nawfed adnod...III. Cerydd a Chariad Brawdol. Matt. xviii. 12....Gan y Parchedig Mr. Daniel Rowland..

Caerfyrddin, Argraphwyd tros T. Davies, gerllaw Hwlffordd, yn sir Benfro, gan I. Ross. 1772. [Pris chwe' cheiniog.]'* [12plyg.]

Gwerthwyd tuag 8000 o bregethau Mr. Rowlands yn Gymraeg, a thros 3000 yn Seisonaeg.

4. 'Pregeth ar yr achlysur o Chwythiad arswydus Powdwr gwnn yng Nghaerlleon gawr. Gan Jos. Jenkins o Wrexham, M.A. Cyfieithwyd gan Benjamin Evans o Lanuwchlyn.

Gwrexham: argraffwyd gan R. Marsh.'

Joseph Jenkins, D.D., ydoedd fab i'r Parch. Evan Jenkins, gweinidog y Bedyddwyr yng Ngwrecsam, yr hwn a ddaethai yno o sir Fynwy. Cafodd elfenau ei addysg yn Llundain, dan ofal un Dr. Walker, hyd 1761; yna aeth i Brifysgol Aberdeen, yn Scotland, lle y cyrhaeddodd ei A.C., ac wedi hyny ei D.D.† Yr oedd y pryd hyn yn tueddu at y Presbyteriaid, a dechreuodd bregethu gyda hwy. Pan yn athraw teuluaidd yn Llundain, ymunodd â'r Bedyddwyr, a bedyddiwyd ef gan y Dr. Stennet yn 1766. Galwyd ef i'r weinidogaeth yno, lle y bu hyd 1769, pan y dychwelodd i Wrecsam. Bu beth amser yn gweinidogaethu yng Nghaerlleon, ond ar farwolaeth ei dad, gwahoddwyd ef i gymmeryd ei le yn 1773.‡

[Y cyfieithydd ydoedd Benjamin Evans, gweinidog yr Annibynwyr y pryd hwnw yn Llanuwchllyn, ac wedi hyny yn y Dref Wen, Ceredigion.]

* Argraffwyd deuddeg Pregeth y Parch. D. Rowlands, gyda'u gilydd, gan S. Williams, Aberystwyth, yn 1814.

† Thomas's *History of the Baptist Associations in Wales*, p. 52.

‡ *Hanes y Bedyddwyr*, gan Thomas, t. 155-157. Efe a gyhoeddodd hefyd:—'A Calm Reply to the first part of De Courcy's Rejoinder,' 8vo. 1778; 'Discourses on Select Passages of Scripture History,' 2 vols. 12mo. 1779; 'The Inconsistency of Infant sprinkling with Christian Baptism,' 12mo. 1784; 'The Beauties of Believer's Baptism,' 12mo. 1778; 'A Defence of the Baptists, against Peter Edwards,' 12mo. 1795; 'The Love of the Brethren proceeding from a perception of the Love of God, a Sermon on the Death of the Rev. Samuel Stennett, D.D.,' 8vo. 1795; 'The Personality and Deity of the Holy Ghost, a Sermon,' 8vo. 1805.

5. ¶ 'Llyfr y Weddi Gyffredin.

Argraphwyd yn y Mwythig gan Stafford Prys.'

6. 'Gloria in Excelsis, neu Hymnau o Fawl î Dduw a'r Oen. Gan W. Williams Yr ail argraphiad. *

Caerfyrddin; Argraphwyd gan J. Ross. 1772.'

7. 'Gorfoledd y Cristion, mewn Pregeth allan o'r Gal. vi. 14. A gyfieithwyd i'r Gymraeg Gan Gurat yn Neheubarth, allan o Seisonaeg y Parchedig J. Hervey, Periglor Weston-Favel, yn Sir Northampton. At ba un y 'chwanegwyd Pregeth arall gan y Cyfieithydd; 1 Pedr i. 15.

Trefecca: Argraphwyd dros y Cyfieithydd. M,DCC,LXXII.'

JAMES HERVEY, A.C., ydoedd fab i offeiriad yn Hardingston, ger Northampton, lle y ganwyd ef yn 1714. Wedi derbyn elfenau ei ddysg yn Ysgol Ramadegol Northampton, efe, pan yn 18 oed, a anfonwyd i Goleg Lincoln, Rhydychain, lle y gwnaeth gynnydd cyfrifol yn ei ddysgeidiaeth; a thrwy ddyfod yn adnabyddus â'r Parch. John Wesley, daeth yn ystyriol o bwysfawrogrwydd crefydd: ond wedi hyny efe a ymlynodd yn fwy wrth y blaid Galfinaidd. Wedi cyrhaedd yr oedran cyfaddas, urddwyd ef yn gurad Dummer, yn sir Hamp. Bu wedi hyny yn gwasanaethu lleoedd ereill; ac yn 1750, ar farwolaeth ei dad, daeth i feddiant o fywoliaethau Weston Favel a Collingtree. Ei brif waith yw ei 'Fyfyrdodau,' y rhai a gyfieithwyd ac a gyhoeddwyd yn Gymraeg yn 1828. Bu farw ar Ddydd Nadolig, 1758, yn 44 oed.†

8. 'Caniadau ar amryw Destynau. Wedi eu cyfansoddi ar fesur Cerdd. Gan Sion Llewelyn, o Goed y Cymmer, yn y Faenor, sir Frycheiniog, &c. Yr ail argraffiad,‡ gyda diwygiad o amryw feiau: at ba un y chwanegwyd rhai caniadau newyddion.

Aberhonddu; argraffwyd gan E. Evans, yn y Coleg, 1772. [Pris chwe' cheiniog].'

Gôf oedd SION LLEWELYN wrth ei alwedigaeth; ac aelod o'r hen eglwys Ymneillduol Bresbyteraidd ar Gefn Coed y Cymmer.

* Gwel rhif 2, d.f. 1771. [Ai nid yr *ail ran* a ddylasai hwn fod? Cyhoeddwyd y 'Gloria in Excelsis' mewn dwy o ranau: y mae y gyntaf yn cynnwys yr hymnau 689 hyd 717; a'r ail, o 718 hyd 810 [o argraffiad 1811]. Nid oes dim yn y rhaniadau hyn yn effeithio ar ansawdd yr hymnau, ond yn unig dangos y modd eu cyhoeddwyd ar y cyntaf, fel yr oedd yr awdwr diwyd a llafurus yn gallu eu cyhoeddi, ym mhlith lluaws o orchwylion pwysig ereill.'—*Morris Davies.*]

† *Cofiant y Parch. J. Hervey*, yn gyssylltedig â'r 'Myfyrdodau,' gan y Parch. D. MacNichol, yn Gymraeg gan D. Williams, 1828.

‡ [Ni chofnodir mo'r argraffiad *cyntaf* yn y gwaith hwn. Ni welodd y golygydd mo hono, ac nis gŵyr pa flwyddyn yr ymddangosodd.]

Yr oedd yn un o'r rhai cyntaf i wyro yn ei farn yn yr hyn a derfynodd yn yr hyn y proffesant eu bod yn bresennol, sef Undodiaid.

9. ¶ 'The Love of our Country.'

Barddoniaeth Seisonaeg ydyw, gan y Parch. Evan Evans (y Prydydd Hir).*

10. 'Dwy Bregeth ar Ezec. xxxiii.—11. Y Gyntaf yn cynnwys taer annogaeth i edifeirwch neu ddychweliad at Dduw. Yr Ail yn haeru, a thrwy 'Scrythurau eglur a rhesymmau di-ymad yn profi, na dderyw i Dduw, trwy un arfaeth neu ordinhâd gyn-amserol, luniaethu neb yn an-ochel i ddinystr neu farwolaeth dragywyddol. At y rhai'n y 'chwanegwyd Dau Ymofyniad neu Ymchwiliad. Y Cyntaf, Am farn Eglwys Loegr ynghŷlch cyrhaeddiad y Brynedigaeth Gristianogol, neu rinwedd marwolaeth Crist. Yr Ail, Am feddwl St. Pedr, yn yr hyn a ddywed efe, yn y drydedd Bennod o'i ail Epistol, ynghŷlch Ysgrifennadau St. Paul. Gan Ioan Wallter, Person Llandocheu.

Pont—y—Fon: Argraphwyd gan R. Tomas. M,DCC,LXXII.' [8plyg: 44 tudalen.]

Cyfieithwyd a chyhoeddwyd y pregethau hyn yn Seisonaeg yn y fl. 1783; a daeth argraffiad Cymraeg o honynt allan yn nechreu y 19fed ganrif, o dan olygiad y Parch. J. Hughes, awdwr yr *Horæ Britannicæ.*

11. 'Golwg ar Weinidogaeth Epaphras, &c. Neu Farwnad y Parchedig Mr. Lewis Jones, gynt Gweinidog yr Efengyl yn Llanedi, yn sir Gaerfyrddin, a chwedi hynny yn y Cas newydd, Pen y bont, yn sir Forganwg, lle y bu yn llafurio yn y weinidogaeth yn ddiwyd ac llwyddiannus, defnyddiol, ac offerynol; yn llaw'r Hollalluog i ddwyn llawer o Eneidiau o'r Tywyllwch i'w ryfeddol Oleuni ef. Cafodd ei symmud gan Ragluniaeth Duw wedi hynny i le a elwir Rhosan, yn Lloegr, hyd nes galwodd ei Arglwydd am dano i dderbyn ei Wobr yn y flwyddyn 1772. A gyfansoddwyd Gan Dafydd William.

Caerfyrddin, argraphwyd tros yr awdwr gan J. Ross, gerllaw yr Eglwys. 1772.'

12. 'Catecism neu Hyfforddiad Byrr yn Egwyddorion y Grefydd Grist'nogol; er lleshâd Ieuengctid Cymru, &c.

Caerfyrddin, argraffwyd gan J. Ross. 1772.'

Yr oedd hwn yn drydydd argraffiad, mae yn debygol.†

* Gwel rhif 16, d.f. 1764; rhif 7, d.f. 1769; a rhif 2, d.f. 1770.

† Gwel rhif 2, d.f. 1707; rhif 11, d.f. 1759; a hwn yma.

13. 'Hanes Bywyd a Marwolaeth y Parchedig Mr. Fafasor Powel, y Gweinidog a'r Milwr dewrwych hwnnw o eiddo Iesu Grist. Ymha un y gosodir allan, Ei Droedigaeth neillduol, ei Weinidogaeth lafurus, a llwyddiannus, ei Ymarweddiad rhagorol. Cyffes ei Ffydd, Ymadroddion gwerthfawr. Profiadau dewisedig, yr amrywiol Garcharau, &c, &c, a ddioddefodd, a'i Attebion calonnog ger bron Brawdleoedd. Gyd a Llawer o Bethau hynod eraill a ddigwyddasant yn ei Fywyd a'i Farwolaeth. Ynghyd a rhai Hymnau melus.

Caerfyrddin, Argraffwyd, ac ar werth gan I. Ross, yn Heol y Prior, gerllaw'r Eglwys. M,DCC,LXXII.'

Cyfieithiad yw y llyfr hwn o un a gyhoeddwyd yn Seisonaeg. Y cyfieithydd ydoedd un 'D. Risiart.' Cynnwysa oll 200 tudalen 12plyg. Y mae hefyd hysbysiad yn gyssylltedig â hwn, yn mynegu y bwriedid argraffu o waith Mr. F. Powel, lyfr a elwir 'Godidowgrwydd Crist ar Moses, neu Ogoniant Seion ar Seina, Mewn ffurf o Gatechism;' ond nid ydys wedi cael y cyflawnwyd y bwriad da hwnw.

14. 'Llythyr oddiwrth Gymmanfa o Weinidogion at yr amryw Eglwysi, i ba rai y maent yn perthynu.

Caerfyrddin, Argraffwyd tros S. Davies, gan J. Ross. 1772.'

15. ¶ 'Llofryddiaeth (Cân ar) Farwolaeth Humphrey Jenkins.

Caerfyrddin.'*

16. 'Gloria in Excelsis, neu Hymnau o Fawl i Dduw a'r Oen. Gan W. Williams. Yr Ail Ran.

Caerfyrddin, Argraphwyd dros yr Awdwr gan I. Ross ger llaw yr Eglwys. 1772.'†

17. ['Gloria in Excelsis; or Hymns of Praise to God and the Lamb. By W. Williams.

Carmarthen, Printed for the Author, by John Ross, removed to Priory Street, near the Church. M,DCC,LXXII.'

['Hwn ydoedd ail lyfr Hymnau Seisoneg yr awdwr. Cynnwysai 72 o ddalenau, a 70 neu 71 o hymnau. Mae yr argraffiadau diweddaf yn cynnwys 72, drwy chwanegu hymn arall o waith Williams, sef, 'Guide me, O Thou Great Jehovah,' cyfieithiad o'r Gymraeg, 'Arglwydd, arwain drwy'r anialwch,' a ddaeth allan yn gyntaf yng Nghasgliad Hymnau Whitfield, yn 1774. Nid ydys yn sicr ai yr awdwr ei hun a'i cyfieithodd, ynte W. Evans, cyfieithydd 'Llyfr y Ficer' i'r Seisoneg, gan fod y cyfieithiad yn dwyn arno lawer o'i ddelw ef.']‡

* *Llythyr* Mr. Ben. Davies, Ysgolfeistr. [Felly y cofnodir y gwaith; ond dilys yw bod yma ryw gamgymmeriad.]

† *Ysgrif* Mr. Ben. Davies, Ysgolfeistr. Gwel rhif 2, d.f. 1771; a rhif 6, uchod.

‡ *Llythyr* Mr. Morris Davies.

18. 'Britannia, or a Chorographical Description of Great Britain and Ireland. By William Camden.

London. 1772.' 2 cyfrol unplyg.*

19. 'Llyfr Gweddi Gyffredin, a Gweinidogaeth y Sacramentau, &c. a'r Sallwyr, neu Salmau Dafydd. 1772.'

20. 'Ail Lythyr Hen Bechadur at ei gyd Frodyr; Wedi sylfaenu ar y geiriau hyn, 'Gwrando ferch a gŵel,' wedi Cymmeryd allan o'r bumed Psalm a deugain, a'r ddegfed adnod gan Ellis Roberts.

Argraphwyd yn y Mwythig gan J. Eddowes tros Peter Morris, yn y Flwyddyn, 1772.'

Y mae chwech o englynion ar yr wyneb-ddalen; y rhagymadrodd yn 2 dudalen, ac yna y llyfr, oll yn 16 tudalen 12plyg.†

21. ¶ 'An Essay on the New Description of England and Wales. 1772.'

## 1773.

1. 'Diddanwch i'w Feddiannydd, neu Ganiadau Defosiynol, ar Amryw Destynau, a Mesurau, gan mwyaf, Am Fywyd, Marwolaeth, Dioddefaint, a Haeddiant Crist. Gan mwyaf o waith Mr. Hugh Hughes, &c.

Dublin: Argraffwyd gan S. Powel, Tros Gwilim ab Gryffyth. M,DCC,LXXIII.'

Cynnwysa y llyfryn bychan hwn waith barddonol, heb law gwaith Hugh Hughes, yr eiddo Gwilim ab Gryffyth, y cyhoeddwr, Robert Hughes (Caint Bach), a Gwilym ab Ioan (Wm. Jones, Bardd Mon).

2. 'Y Deddfau Cristianogol, neu Ddidwyll Air Duw. Sef Ffydd a Dyledswyddau Cristion yn Gyfan ac yn Gryno, Wedi eu dosparthu wrth Drefn a Chymhwysder Rheswm, a'u gosod i lawr Yngeiriau'r Ysgrythur. Gan y Gwir Barchedig Dad yn Nuw, Francis Gastrel, yr hwn yn ddiweddar oedd Esgob Caerlleon. Ac wedi eu gosod allan yn Gymraeg, yn ol y cyfieithiad cyffredin, Gan John Evans, A.M.

Caerfyrddin, Argraffwyd dros yr Awdwr gan J. Ross, gerllaw'r Eglwys. 1773.'

3. 'Rhybŷdd Cyfr-drist j'r diafol a'r difraw: Neu gywir hanes am gyfiawn farn Duw, a oddiweddodd ystafellaid o ynfydion anystyriol yn ninas Caerlleon; y rhai ar ganol eu difurwch a chwythwyd i'r

* Gwel d.f. 1602; rhif 4, d.f. 1603; a rhif 2, d.f. 1604.

† [Gweler rhif 28, d.f. 1771.]

awyr gan Bowdwr Gwnn, a'r Tŷ lle yr oeddynt a wnaed yn gyd wastad a'r llawr. At yr hyn y chwanegwyd Pregeth oddiwrth y geiriau hynny, Eithr, o nŷd edifarhewch, chwi a ddifethir oll yn yr un modd, Luc xiii. 3. Gan y Parch. Evan Evans, Curat [Tywyn].

Argraphedig Ynghaerfyrddin gan J. Ross, yn Heol-y-Prior, ger llaw yr Eglwys. 1773. [Pris dwy geiniog].'

4. 'Udgorn dydd Grâs, ac udgorn Dydd Barn.—Pregeth ar yr achlysur o'r Ddaergryn, a fû yr eilfed Dydd ar hugain o Ebrill, 1773, mewn amryw Fannau o ogledd Cymru; Wedi ei chymmeryd allan o Mat. xxiv. 7. "A Daeargrynfau mewn mannau." Gan y Parchedig Mr. Joan Morgan, gynt Curat Lledrod a Gwnnws yn Swydd Geredigion, ond yn bresennol Curat Llanberis yn Swydd Gaernarfon. At yr hwn y chwanegwyd Cerdd, ar yr un Achosion, gan Evan James, Gwerthwr y Llyfr hwn.

Argraphwyd yn y Mwythig gan J. Eddowes. 1773.'

'Daeth un John Morgan, o'r Deheudir, yn Gurad i Lanberis; byddai cryn lawer yn cyrchu i wrando arno : ac er nad oedd ei wybodaeth na'i ddoniau yn ardderchog, eto gellir barnu fod ei amcan am ddyrchafu Crist, ac achub pechaduriaid. Ymddangosodd yn fwy amlwg gyda chrefydd yn ei hen ddyddiau. Mae yn debyg y cafwyd ynddo beth daioni tuag at Arglwydd Dduw Israel.'*

Ymddengys mai gwr o Lanfachraith, ym Meirionydd, ydoedd Evan James.

[Cynnwys y llyfryn 16 o dudalenau 12plyg. Ar ddiwedd y gerdd, gyda'r hon y terfyna'r llyfryn, ceir—'Evan James, o blwy Llanfachraith, a'i cant, yn Sir Feirionydd.']

5. 'Gorchestion Beirdd Cymru, neu Flodau Godidawgrwydd Awen. Wedi eu lloffa, a'u dethol, allan o waith rhai o'r Awduriaid ardderchoccaf. a fu erioed yn yr Iaith Gymraeg. O Gasgliad Rhys Jones o'r Tyddyn Mawr yn y Bryniach, ym mhlwyf Llanfachreth, yn Swydd Feirion.

Argraphwyd gan Stafford Prys, yn y Flwyddyn M,DCC,LXXIII.' [4plyg.]

6. ¶ 'Deddfau Moesoldeb Naturiol. Wedi ei gyfieithu gan Hugh ab Hugh.'†

7. 'Ffordd y Bywyd wedi ei datguddio, a Ffordd Marwolaeth wedi eglurhau: Ym mha un y mynegwyd cyflwr happus Dyn cyn y Cwymp, a'i gyflwr truenus yn y Cwymp; a'r Ffordd o Ddychweliad

* *Drych yr Amseroedd*, gan R. Jones, ail argraffiad, t. 190.

† Gwel rhif 1, d.f. 1763.

allan o'r Cwymp, i Ddelw Duw drachefn, ymha un yr oedd Dyn cyn y Cwymp. Ac hefyd i gae Llwybrau, Ffyrdd ceimion, Dichellion, Rhwydau a Phrofedigaethau gelyn Enaid Dyn wedi ei eglurhau, y sawl sy'n myned o amgylch megis Llew rhuadwy, yn ceisio baglu a llyngcu y cyfryw ac ydynt mewn rhyw fesur yn adnabod gwaredigaeth allan o Ffyrdd Marwolaeth a Dinystr. Gan Charles Marshal. A gyfieithwyd i'r Cymraeg er mwyn y Cymry.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Ross, yn Heol y Prior· M,DCC,LXXIII.'

Y mae i hwn 'Annerch i'r Cymro,' wedi ei arwyddo 'J. Lewis,* Hwlffordd, y 6fed or bedwaredd Mis 1773.' Ymddengys fod camgymmeriad yma yn enw yr awdwr, ac y dylasai fod yn
STEPHEN MARSHAL, B.D., yr hwn a anwyd yn Godmanchester, yn sir Huntingdon, ac a gafodd ei ddysg yng Nghaergrawnt. Bu am beth amser yn weinidog yn Wethersffield, yn Essecs, ac yna yn Fflinchingffield, o'r lle y diswyddwyd ef, o blegid ei Anghydffurfiaeth, hyd 1640, pryd, rywfodd, y cafodd le arall. Yn 1641, gwnaed ef yn gapelwr i fyddin Iarll Essecs. Bu ganddo law helaeth yn nherfysgoedd amseroedd Siarl I. Bu farw yn 1655.†

8. 'Egwyddorion o'r Gwirionedd, neu pethau ynghylch athrawiaeth ac addoliad, &c. Gan John Crook. A gyfieithwyd i'r Cymraeg gan John Lewis.

Caerfyrddin, argraphwyd gan Ioan Ross, yn Heol y Prior. M,DCC,LXXIII.'

Yr oedd yr enw Crook ym mhlith awdwyr Crynyddol er amser y Siarliaid, a'i waith yn Gymraeg.‡

9. 'Welch Piety: Or a Further Account of the Circulating Welch Charity Schools, from Michaelmas 1772, to Michaelmas 1773.

London Printed.'

Rhoddwyd 200 o'r uchod yn anrheg i'r Gymdeithas er Taenu Gwybodaeth Gristionogol, gan Syr John Thornold, Barwnig, yr hwn oedd yn gefnogwr mawr i ymdrechiadau y Parch. Griffith Jones, gyda'r Ysgolion Symmudol.

10. 'Sylfaen Buchedd Sanctaidd, neu'r Ffordd trwy ba un y daeth llawer o rai ag oeddynt yn Baganiaid i fod yn Grist'nogion enwog, &c. Gan Hugh Thurford.

* [Ymddengys mai un o'r Crynwyr ydoedd y cyfieithydd, J. Lewis, sef yn ddiau yr un gwr ag a gyfieithodd rif 8.]

† Brooks's *Lives of the Puritans*, vol. iii. pp. 241-254. [Nid yw debygol mai gwaith '*Stephen* Marshal' yw y llyfr. Prin y gallasai neb wneuthur camgymmeriad mor ddybryd a throi 'Stephen' yn 'Charles' ar gynddalen llyfr.]

‡ Gwel rhif 1, d.f. 1660.

Caerfyrddin: argraffwyd gan John Ross. 1773.'

11. 'Mynegeir Ysgrythurol: neu Ddangoseg Egwyddorol o'r holl Ymadroddion yn yr Hen Destament a'r Newydd, Yn Ddwy Ran. Y Rhan gyntaf, yn cyfarwyddo at y Llyfr, y Bennod, a'r Adnod, lle y cynhwysir Prif Eiriau pob Ymadrodd: Ynghyd âg Arwyddoccâd Geiriau anghyfiaith. Yr ail Ran, yn cyfarwyddo at Enwau priodol Dynion, Llefydd, &c. gydâ'u Harwyddoccâd yn y Ieithoedd gwreiddiol, o ba rai y maent yn deilliaw. Gan y Parchedig Peter Williams.

Caerfyrddin, Argraffwyd tros yr Awdur, gan J. Ross, yn Heol-y-Prior, gerllaw'r Eglwys. M,DCC,LXXIII.' [4plyg.]

Dywed yr awdwr am y 'Mynegeir i'r Bibl, sef Concordance—nid oedd un i'w gael yn Gymraeg, namun un a argraffwyd yn Pensylvania,* a hwnw a ddilynais; eithr gorfu i'm ddiwygio peth, a chwanegu llawer.'† Ond y gwahanol ystyr sydd i eiriau mewn gwahanol fanau o'r Ysgrythyrau, yn ddiau a gymmerodd efe o Cruden's '*Concordance*,' heb eu cydnabod; a'r rhai, gan eu bod yn cynnwys golygiadau athrawiaethol dadleuedig, yn briodol iawn a adawyd allan o'r Mynegair bychan diweddar. Yr oedd yn ei fwriad ei ddwyn allan yn llawer cynt, ac yn helaethach; ond bu orfod hysbysu, na chaed 'cynnifer o enwau at y Mynegair Ysgrythyrol, neu Concordans Cymraeg,' ag oeddid yn ei ddysgwyl; a chan farnu fod y bobl gyffredin, er mwyn pa rai yr amcanwyd ef yn bennaf, yn ei weled yn rhy ddrud, 'Hyn sydd i hysbysu i'r cyffredin, ein bod yn bwriadu argraphu yn llai nag y soniwyd o'r blaen, ac etto, os bydd bosibl, ei wneuthur yn agos mor fuddiol, sef trwy nodi (nid pob gair yn y Bibl, eithr) y geiriau pennaf ym mhob ymadrodd, ac felly ei gynnwys mewn ynghylch tair neu bedair Rhan, deg Papurlen ym mhob rhan, a'i werthi am swllt y Rhan: ac mi a allaf sicrhau i'r pwrcaswyr, y bydd felly yn rhagorach o lawer na'r *Concordans* a argraphwyd yn *Pensylfania*.'† Rhoddwyd argraffiad yn 18—, gan fab yng nghyfraith yr awdwr, Mr. D. Humphreys, lle y dywed ei fed yn gyflawnach o ddwy neu dair mil o eiriau na'r cyntaf hwn, sef trwy chwanegu yr hyn a adawyd allan, fel y dywedir uchod. Daeth argraffiad 8plyg allan hefyd yn fwy diweddar, cyn y rhai bychain presennol.

12. 'Deial Ahas, wedi ei hysbrydoli. Gan Wr-llug o'r Wlad; Wedi ei olygu a'i ddiwygio gan y Parch. P. Williams, gweinidog yr Efengyl. A gyfieithwyd i'r Cymraeg gan Hugh ab Hugh.‡

Caerfyrddin, argraffwyd gan J. Ross, yn Heol y Prior. MDCCLXXIII.'

* Gwel rhif 1, d.f. 1730.

† Dalen gyssylltiol â Phregeth y Parch. D. Edwards, ar Farwolaeth Mr. Whitfield. Gwel rhif 6, d.f. 1771.

‡ Gwel rhif 1, d.f. 1763; a rhif 6, uchod.

Yr awdwr ydoedd DAFYDD TUCCER, gwneuthurwr Deialau.

13. 'Manteision ac Anfanteision y Cyflwr Priodasol, fel yr ydys ynddo gyda dynion crefyddol neu ddigrefydd, &c. Gan y Parchedig a'r Enwog Mr. J. Johnson o Liverpool. Wedi ei gyfieithu i'r Cymraeg gan Gwilym Rhysiart.

Caerfyrddin, argraffwyd gan J. Ross, ger llaw yr Eglwys. 1773.'

Y mae y rhagymadrodd 'At y Darllenydd,' yn arwyddedig gan 'Gwilym Rhysiart, Pencoed, yn ymyl Meidrim, y 27 o Fawrth, 1773.' Rhoddwyd allan argraffiadau o hono hefyd yn y ganrif hon.

14. 'Caniadau y rhai sydd ar y Môr o Wydr, &c. i Frenin y Saint, &c. Y pedwerydd argraphiad, gyda chwanegiad o Hymnau newyddion nad oeddynt yn un o'r argraphiadau o'r blaen. Gan W. Williams.

Aberhonddu, argraphwyd tros yr awdwr gan E. Evans, yn y Coleg. Lle gellir cael argraphu pob math o lyfrau ar lythyren dda, am bris gweddol. M,DCC,LXXIII.'

Nid ydys yn deall fod argraffiad o'r blaen wedi bod o Hymnau Williams, dan yr enw uchod, er ei fod yn galw hwn y pedwerydd argraffiad; gan hyny, y meddwl yw, mai y pedwerydd argraffiad o'i Hymnau ydyw, dan unrhyw enw.

15. 'The genuine History of the Britons asserted against Mr. Macpherson. By the Rev. Mr. Whitaker, author of the History of Manchester. 1773.' 8vo.

[Yn y fl. 1772 yr ymddangosodd y gwaith hwn.

Yr awdwr, y Parch. JOHN WHITAKER, a aned ym Manchester o gylch y fl. 1735, ac a efrydodd yn Rhydychain, lle y cymmerodd radd Athraw Celfyddydau yn 1759, a Baglor Dwyfyddiaeth yn 1767. Yr oedd hefyd yn Gymmrawd o Góleg Corff Crist. Ysgrifenodd a chyhoeddodd lawer; ond ei brif waith yw ei 'History of Manchester,' yr hwn a gyhoeddwyd yn 1771. Bu farw yn ei bersondy yn Ruan Langhorn, yng Nghernyw, ar y 30fed o Hydref, 1808.]

16. 'Golwg o ben Nebo ar Wlad yr Addewid, mewn casgliad o bigion o Hymnau, ar Gwymp Dyn yn yr Adda cyntaf, a'i Gyfodiad yn yr ail Adda. Wedi eu trefnu a'u diwygio allan o'r ail argraffiad,* ynghyd a rhai Caniadau Newyddion, na buont argraffedig o'r blaen. Gan Morgan Rhys.

Caerfyrddin, argraffwyd gan Ioan Ross, yn Heol y Prior. 1773.'

17. 'Cynneddfau a Dyledswyddau Gweinidogion, dan yr Enwau Tadau a Phrophwydi, yn cael eu hystyried, a'u Marwolaeth ei

* Gwel rhif 12, d.f. 1764.

Defnyddio.—Mewn Pregeth a Bregethwyd mewn Cymmanfa o Weinidogion a Chennadon, o Amryw Eglwysydd Cymru: Gwedi cyfarfod yn Bethesda, yn Sir Fonwy, ar y 9ed o Fehefin, 1773. Gan Hugh Evans, M.A. Ac a gyhoeddwyd ar Ddymuniad y Gymmanfa.

Bristol: Argraphwyd ac ar werth gan William Pine, 1773. Ac ar werth gan Cadel, Ward, Beet, Edwards, a Norton. A chan G. Keith, J. Buckland, yng Nghaerludd.

Yn y flwyddyn hon yr oedd y Parch. D. Thomas, o Gilfywyr, i bregethu yn y Gymmanfa, ond efe a fu farw yn ddisymmwth, cyn yr amser. Yr oedd y bregeth uchod yn gyfaddasol iawn i'r amgylchiad, a deisyfid ar iddi gael ei hargraffu yn ddwy iaith.*

Hugh Evans, A.C., ac wedi hyny a raddiwyd yn D.D., ydoedd fab i Caleb Evans, o sir Frycheiniog, ac ŵyr i Thomas Evans, yr hwn hefyd oedd yn pregethu yn foreu gyda'r Bedyddwyr. Cafodd ei ddysg o dan Mr. Price, o'r Llwyn Llwyd; yr hwn oedd yn cadw athrofa, ac yn pregethu gyda'r Presbyteriaid ym Maes yr Onen. Yr oedd modryb iddo, chwaer ei dad, yn byw ym Mristol, ac yn 1730, hi a wahoddodd ei nai yno, ac yno y bedyddiwyd ef. Tua'r fl. 1731, dechreuodd bregethu. Yn 1734, cafodd alwad i gyflenwi lle Mr. Arnold, a fuasai farw, ond dewisodd aros ym Mristol, yn cynnorthwyo Mr. Fosket, fel athraw yr athrofa, ac yn ei le wedi ei farwolaeth. Bu farw yn 1781, yn 69 oed.†

18. 'Pregeth ar Ymffrost yng Nghrist Iesu. Newydd ei chyfieithu i'r Cymraeg.

Trefecca: argraffwyd yn y flwyddyn M,DCC,LXXIII.'

Dichon mai cyfieithiad newydd, ac ail argraffiad o Bregeth Mr. Hervey ydyw hon.‡

19. 'Iawn Ddefnydd o Farnedigaethau Duw. Pregeth ar Achos o Chwythiad dychrynllyd y Powdr Gwnn yng Nghaerlleon: Trwy 'r hyn y cafodd Torf o bobl ymgynhulledig mewn Poppet Shew, eu chwythu i'r awyr; fel y lladdwyd llawer, ac y briwyd eraill, Tachwedd 5ed, 1772. Wedi ei chyhoeddi drwy Ddeisyfiad. Gan Joseph Jenkins. A.M.

Caerfyrddin, argraffwyd gan J. Ross, yn Heol-yPrior, gerllaw yr Eglwys, 1773. [Pris dwy geiniog].'

Darfu i neillduolrwydd yr amgylchiad beri i'r argraffiad cyntaf o'r

* Thomas's *History of the Baptist Association*, p. 65.

† *Hanes y Bedyddwyr*, gan D. Jones, t. 838-840.

‡ Gwel rhif 7, d.f. 1772.

bregeth hon gael ei werthu yn fuan, a dyma alwad am ail argraffiad i'r Deheudir.*

20. 'Golwg ar Madewiad y Cyfiawn. Ar ddull Gweledigaeth, neu farwnad Mary John, Merch Lewlin John, o Lantrisant, yn sir Forganwg, yr hon a gafodd y fraint gan yr Arglwydd, o effeithiol alwad i'w Hyfryd winllan yn 12 mlwydd oed cafodd ei Derbyn. Yn Aelod o'r Gymdeithas wythnosol hynny a gedwir yn mysg y Bobl dwymon Hynny a elwir Methodists, yn Hardd yn ei Bywyd a'i Rhodiad yn wresog yn ei Hysbryd yn ddiwyd mewn gweddi a haul Duw yn tewynu ar ei phabell nes daeth yr hyfryd Alwad, arni i dderbyn ei choron a gorphen ei gyrfa yn 14 oed, yn mis Gorphenhaf 6 dydd yn y flwyddyn, 1773. A gyfansoddwyd gan Dafydd William.

Bruste: Argraphwyd tros yr Awdwr, gan T. Co—.' [Congl y ddalen wedi ei dryllio.]

21. 'Cynneddfau a Dyledswyddau Gwladwyr, &c. Mewn Pregeth a bregethwyd mewn Cymmanfa o Weinidogion a Chenadon o amryw Eglwysydd Cymru, gwedi cyfarfod yn Bethesda, yn sir Fonwy, ar y 9fed o Fehefin 1773. Gan Hugh Evans, M.A.

Bristol, Argraphwyd gan William Pine. 1773.'

[Yr un yn ddilys ydyw y gwaith hwn â rhif 17 o dan y flwyddyn hon, os na bu dau argraffiad o fewn yr un flwyddyn, yr hyn nid yw debygol.]

22. 'Geir-lyfr Ysgrythurol: neu Egwyddor, yn Dangos Arwyddoccad y Rhan fwyaf o Eiriau, ac Ymadroddion caled, a Natturiaethau Creaduriaid, a Gynnhwysir yn yr hen Destament a'r Newydd. Yn gyttunol a Lityrgi, Erthyclau, a Homiliau, Eglwys Loegr. Wedi ei Dalfyru, gan mwyaf allan o Eirlyfr y Parchedig Mr. Wilson, &c. Gan John Roberts.

Argraphwyd yn Nulyn gan S. Powell. M,DCC,LXXIII.'

Awdwr y 'Geirlyfr Ysgrythurol' nid oedd neb llai na John Roberts, yr Almanaciwr, neu 'Sion Rhobert Lewis.' Hwn ydoedd y Geirlyfr neu y Geiriadur Ysgrythyrol *cyntaf* i'r Cymry. Y mae yn ei ragflaenu, 'At y Darllenydd' o dri thudalen, yng nghyd â 'Rhagymadrodd i'r Llyfr hwn, ar fesur cerdd,' o ddeuddeg ar hugain o Bennillion, ar 'Ardderchawgrwydd yr Ysgrythyr Lân.' Y mae yn llyfr o 141 o ddalenau, neu 282 o dudalenau 12plyg. Yr oedd y cyfryw waith yn newydd i'r wlad, a buan y gwasgarwyd yr argraffiad, nes bod, ym mhen pymtheng mlynedd, sef yn 1788, gefnogaeth i roi hysbysiad am ail argraffiad, lle y dywedir :—'Os bydd

* Gwel rhif 4, d.f. 1772.

i'r *Llyfr* uchod gael ei roddi'n yr Argraffwasc; yr wyf yn meddwl cael gan Wŷr *diduedd*, fwrw golwg ofalus trosto ef yn gyntaf, Rhag fy mod i wedi casglu *Tywys gweigion*, wrth hynny gwneuthur ei sŵm yn fwy na'i sylwedd; neu lloffa llawer o *Dywys pydron*, y rhai a wna liwiau drwg ar y gwirioneddau disgleiriaf; neu gasglu llawer o *ŷd meddw*, i lenwi'r pen a sŵn, yn hyttrach nac archolli calon iâch; neu gasglu *Tywys* afiach, a bwyso ar gylla rhai gweiniaid, yn lle adnewyddu eu grym, Fe gynnwys y llyfr ynghylch 300 o Ddalenau wyth-blyg ehelaeth: ei bris o bedwar swllt i bump. Os daw galwad am *Fil* o honynt Argreffir Siampl (Specimen) o hono yn ei ddull: ac enway ewyllyswyr da, a f'o barod i dderbyn cynhorthwy tu ag atto ef.'

Deallir oddi wrth hyn, y bwriedid i'r ail argraffiad fod yn helaethach dair gwaith, o leiaf, na'r cyntaf. Ond cyn iddo allu cwblhau y bwriad uchod, yr oedd y Parch. T. Charles, o'r Bala, yn llafurio yr un modd. Pa un ai clywed a ddarfu Mr. Charles, fod John Roberts yn casglu neu yn parotoi tuag at chwanegu a chyhoeddi ei *Eirlyfr*, ai ynte darfod i John Roberts ymgynghori â Mr. Charles, yn ol ei addewid o 'gael gwyr dysgedig i edrych trosto,' nid ydys yn alluog i benderfynu. Pa fodd bynag, cafodd ymgynghorfa ei chynnal rhyngddynt, a'r canlyniad a fu, i John Roberts roddi i fyny ei fwriad o ail gyhoeddi yr eiddo ef, a gwerthu ei holl ysgrifeniadau parotöedig tuag at y Geirlyfr i Mr. Charles, am 5 swllt, medd traddodiad. Nid yw Mr. Charles yn crybwyll dim am Eirlyfr John Roberts, nac am ei ysgrifeniadau, o blegid yr hyn y teimlai rhai o'r teulu yn anfoddlawn a thramgwyddus, gan ystyried llafur J. R. yn 'gynsail Geiriadur Charles.' Pa ddefnydd a fu ysgrifeniadau J.R. i Mr. Charles, neu pa ddefnydd a wnaeth efe o honynt, y mae yn anhawdd dyfalu, gan, os defnyddiodd hwynt o gwbl, eu bod wedi eu cydweithio ag ereill helaethach; er y gellir meddwl mai fel gwaith John Roberts, neu ryw un arall, y dechreuwyd cyhoeddi Geirlyfr Charles; canys daeth y rhan gyntaf allan heb enw Mr. Charles, na neb arall, fel *awdwr;* ond dywedai y cyhoeddwr, W. C. Jones, Caerlleon, y dysgwylid y byddai iddo gael ei olygu gan Mr. Charles neu Mr. T. Jones.. Yr ydys wedi gweled clawr y rhan gyntaf o'r argraffiad cyntaf o Eiriadur Charles. Y mae yn cynnwys 88 tudalen, o 'A' i 'Barnu,' a'i gwyneb-ddalen sydd fel hyn:—

'Geirlyfr Ysgrythyrol. Rhan I. Pris Swllt. Y mae 'r llyfr hwn yn cynnwys ynddo arwyddocâd y geiriau anghyfiaith a geir yn yr Ysgrythyr Lan; ynghyd ag amryw feddyliau, ac ystyriaethau, geiriau ac ymadroddion cyfieithedig, wedi eu casglu gan mwyaf allan o Eirlyfrau Mr. Wilson, Mr. Bagwel, Mr. Simson, Mr. Bernard, Mr. Brown, Mr. Cruden, Mr. Batton, &c., &c. Ac hefyd o Eirlyfr (Lexicon) Groeg a Saesonaeg Mr. Parkhurst. Fe all fod yn ddefnyddiol fel Mynegair ac Eglurydd: Y mae'n dangos sefyllfa Mynyddoedd, Dinasoedd, a'u hamgylchiadau; naturiaethau Creaduriaid, Coedydd, a Meini; cylchau'r llu'r nefoedd, a'u maintioli; Aberthau, Gwyliau, a Seremoniau'r Iuddewon; ynghyd a'u cyfeiriad i ddangos pethau Efengylaidd.

AMMODAU.

I. Yr ydym yn bwriadu cario 'r gwaith y'mlaen o ran dull, trefn, a defnydd, mor agos ag y gellir i'r Rhan hon.

II. Fe gwblheir y gwaith mor gryno ag y gellir heb fod yn niweidiol i gorph y matterion sy'n gynnwysedig ynddo.

III. Yr ydys yn bwriada i'r *Coppi* oll gael myned tan olygiad Mr. *Charles* a Mr. *T. Jones*, cyn ei roi yn y Wasg; o leiaf un o honynt, os na bydd cyfleustra iddynt ill dau i'w olygu.

IV. Rhoddir y ddalen gyntaf *(Tittle Page)*, ynghyd a'r Rhagymadrodd, yn y Rhifyn olaf o'r llyfr.

Siopwyr, Ysgolfeistriaid, neu ryw ddynion cyffredin a ewyllysio fod yn annogaeth i'r gwaith, trwy dderbyn enwau; a obrwyir yn helaeth; am bob 12 hwy a gan 2 am eu trafferth, sef, 14 yn y *Dwsin*, &c.

☞ Desgwylir i bawb a fyddo'n derbyn y Rhannau, anfon tal am y Rhan hon cyn y derbyniant ddim ychwaneg; a dymunir arnynt wneuthur hynny mor fuan ag y gallont, er mwyn rhwyddineb i gario 'r gwaith y'mlaen.

W. C. JONES, Argraffydd, Caerlleon.'

Dyna fel y rhoddwyd allan y rhan gyntaf o'r hyn a alwyd wedyn yn 'Eiriadur Charles;' ac y mae yn amlwg, gan nad pwy bynag oedd awdwr y rhan hòno, nad oed gan Mr. Charles yr un llaw ynddi—yn unig y bwriadai Mr. Jones, yr argraffydd, gael naill ai Mr. Charles neu T. Jones yn olygydd y gwaith. Pa faint o'r 'Coppi' ag oedd yn llaw yr argraffydd, a ddaeth allan fel hyn, nid ydys yn gallu penderfynu; ond ymddengys y gwelodd Mr. Charles yn angenrheidiol wneyd rhyw gymmaint o ychwanegiadau a chyfnewidiadau wrth fyned ym mlaen, fel ag y gwelwyd yn angenrheidiol ystyried a galw Mr. Charles yn awdwr, ac nid golygwr. Y mae yn ammhëus fod gan Mr. Charles na Mr. Jones ddim llaw hyd yn nod yng ngolygiaeth y rhan hon o leiaf; a sicr dylesid cydnabod yr awdwr, pwy bynag ydoedd, hyd yn nod os 'Sion Rhobert Lewys, Almanaciwr Caergybi,' ydoedd.
Gellir tybio, oddi wrth hyn, fod y Geiriadur yn y wasg pan ymgymmerodd Mr. Charles ag ef. Buasai yn ddiau yn llawer mwy boddhaol pe buasai Mr. C. wedi crybwyll am y 'cynsail' hwn, fel y darfu i'r Parch. P. Williams grybwyll am y Mynegair a gyhoeddasid yn America.* Buasai y cyfryw addefiad yn attal llawer o deimladau anhyfryd; er nad anturir rhoddi barn ar y dyben, er y buasai yn well, tybiaf, pe gweithredasid beth yn wahanol.

23. 'Can y Pererinion Cystuddiedig ar eu taith tua Seion: neu ychydig o Emynau profiadol, er mawl i Dduw, a Chynnydd i'r Cristion. Gan D. Morys, gerllaw Lledrod.

* Rhagymadrodd *Mynegeir* P. Williams.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Ross, yn Heol y Prior, gerllaw yr Eglwys. M,DCC,LXXIII.'

DAFYDD MORYS neu MORRIS a anwyd yn Lledrod, yn sir Aberteifi, yn 1744. Ymunodd yn fuan â'r Methodistiaid, a dechreuodd bregethu tua'r fl. 1765, pan yn 21 oed; a daeth yn fuan yn un o bregethwyr grymusaf ei oes. Teithiai yn fynych i Dde a Gogledd. Er nad oedd wedi derbyn manteision dysgeidiaeth, eto, cyrhaeddodd fesur helaeth o wybodaeth dduwinyddol; a deallai awdwyr Seisonig yn dda. Efe a symmudodd o Ledrod i ardal y Tŵr Gwyn, yn yr un sir, yn 1774, ar gais y Gymdeithas fechan o Fethodistiaid oedd yno. Galwyd ef i roi heibio ei alwedigaeth, ac ymroddi yn llwyr i bregethu, ac i gynnal cyfarfodydd eglwysig wythnosol, a chydnabyddid ef yn flynyddol am ei lafur. Yr oedd yn dad i'r Parchn. Ebenezer a Thomas Richard,* gweinidogion yng Nghorff y Methodistiaid, ac yn daid i'r Parch. H. Richard, Capel Marlborough, Llundain. Bu farw Medi 17, 1791, yn 47 oed.†

24. 'The Io Triads: or, the Tenth Muse, wherein the Origin, Nature, and Connection of the Sacred Symbols, Sounds, Words, Ideas, are discovered, &c. By Rowland Jones, Esq.

London. 1773. 1s.'

25. 'Marwnad ar Farwolaeth Howell Harris, Esq; o Drefecca, yr hwn a ymadawoddd o'r Byd, yr 21 o fis Gorphenâf, 1773. Gan Henry Lloyd.

Trefecca, Argraphwyd dros yr Awdwr, M,DCC,LXXIII.'

26. 'Amryw Hymnau Dymunol a Phrofiadol, o Waith Harri Sion, gerllaw Pont-y-Pŵl, yn Sîr Fynwy, At ba un y chwanegwyd Pigion o Hymnau, o Waith yr Awdwyr hynottaf yn yr Oes bresennol.

Caerfyrddin, Argraphwyd dros y Cyhoeddwr gan I. Ross. M,DCC,LXXIII.

Cynnwysa y llyfr 144 o dudalenau 24plyg, er nad oes ond 36 o honynt yn waith H. Sion; y lleill sydd waith W. W., D. J., J. W., M. Rh., a P. W. yn Gymraeg a Seisonaeg.

HARRI SION, neu HARRI JOHN, ydoedd hen wr enwog fel crefyddwr, perthynol i'r Bedyddwyr yn hen eglwys Pen y Garn, ger Pont y Pwl, yn sir Fynwy, yn yr hanner cyntaf o'r 18fed canrif. Mewn marwnad iddo gan y Parch. B. Francis, dywedir mai gwr o Lan-

* [Y mae yma gamsyniad. Tad y Parch. Ebenezer *Morris*, yr hwn a fu farw yn 1825, ydoedd Dafydd Morys; ond nid oedd, hyd y gwyddys, yn perthyn o'r nawfed ach, i'r Parchn. Ebenezer a Thomas Richard, y rhai oeddynt frodorion o swydd Benfro. Y mae yn debygol mai yr enw 'Ebenezer' a ddarweiniodd ein hawdwr i hyn o amryfusedd. Mab y dywededig Ebenezer Richard (o Dregaron) yw Mr. Henry Richard, A.S.]

† *Methodistiaeth Cymru*, cyf. ii. t. 29, 83-87.

hiddel ydoedd. Yr oedd yn rhagori mewn crefydd a duwioldeb. Yr oedd yn brydydd da, sylweddol, melus iawn, a chymmeradwy. Ymddengys mai ail argraffiad o'i hymnau yw hwn, ond ni welais y cyntaf. Bu farw yn y flwyddyn 1754, yn 90 oed.*

27. 'Marwnad er Coffadwriaeth am Mr. Howel Harris, Yr hwn oedd Un o'r rhai cyntaf a ddechreuodd y Diwygiad mawr yng Nghymru: A ymadawodd a'r Byd hwn, Gorphenhaf y 21, yn y flwyddyn, 1773. Yn y driugeinfed Flwyddyn o'i Oedran. Gan W. Williams.

Aberhonddu, Argraphwyd trcs yr Awdwr gan E. Evans: Lle gellir cael argraphu pob math o gopïau am bris rhesymol. M.DCC.LXXIII.'

28. 'Llythyr oddi wrth Gymmanfa o Weinidogion at yr amryw Eglwysi, i ba rai y maent yn perthynu, &c. &c.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Ross, yn Heol y Prior. M,DCC,LXXIII.'

29. 'Pregeth, yn dangos yn eglur Nad oes perffaith Ddedwydd-wch i'w ddisgwyl, hyd oni chyflawnir Nifer Etholedigion Duw. Gan y Parchedig Mr. Samuel Johnson, M.A. Ac a gyfieithwyd o'r Saisneg, gan Hugh Williams, Athraw Celfyddydau, Person Aberffraw, ac Aelod o Gymdeithas y Cymmrodorion.

Caerlleon: Argraphwyd gan W. Read a T. Huxley. M,DCC,LXXIII.'

HUGH WILLIAMS, A.C., ydoedd frodor o sir Gaernarfon.† Cafodd bersoniaeth Aberffraw, ym Mon, Chwefror 15, 1754.‡ Ymunodd â Chymdeithas y Cymmrodorion ar ei sefydliad yn 1751, neu ym mhen ychydig ar ol hyny. Ymddengys ei fod yn rhywle ym Mon cyn hyny, efallai yn gurad neu ragflaenydd y Parch. Thomas Owen; canys bu rhyw ymgom am ei gymhwysderau barddol rhwng Mr. Wm. Elias, Plas y Brain, a Gronwy Owen; canys gorchymmyna yr olaf i Mr. Richard Morris ddywedyd wrth y blaenaf—'Tell William Elias that I know Hugh Williams better than he does, and consequently what sort of poet he was.'§ Ymddengys mai y gymmwynas agos gyntaf a wnaeth â Gronwy, ar ol cael bywoliaeth Aberffraw, ydoedd anrhegu Gronwy â Gramadeg Sion Rhydderch, yr hyn y mae y derbynydd yn ei gydnabod mewn llythyr arall at Wm. Morris yn 1754:—'Dyma fy hen gyfaill anwylaf, y Parch. Mr. Hugh Williams (yn awr) Periglor Aberffraw ym Mon, wedi gyru i mi Ramadeg Sion Rhydderch, i'm hyfforddio yn yr hen gelfyddyd.'

* *Hanes y Bedyddwyr*, gan Thomas, t. 219, nodyn.

† *Cofrestr* Cymdeithas y Cymmrodorion, 1769.

‡ Rowlands's *Mona Antiq. Rest.*

§ *Llythyr* Gronwy Owen.

'Ai byw Huwcyn Williams, person Aberffraw,' meddai Gronwy Owen, Gorphenaf 25, 1767, yn ei lythyr o Brunswick, at Mr. Richard Morris,* ac ymddengys wrth ei 'Salmau Cân,'† y bu fyw naw blynedd o leiaf ar ol hyny. Cyfansoddodd rhywun englyn Lladin i Gronwy Owen, y bardd, ac y mae cyfieithiad neu efelychiad o hono gan Mr. Williams, a dyma'r ddau:—

'Gronovius Oenus Anax—Clerum—
Clarus est et sagax;
Cupio sit magis capax—
Splendescat et fiat fax.'

Y cyfieithiad—

'Mab Owen, pen llên a'n llyw,—Goronwy,
Gwr enwog, call ydyw;
Cynnydded, er däed yw,
Gwawried yn oleu gwiw-ryw.'

30. 'The Depositions, Arguments and Judgment in the cause of the Church-Wardens of Trefdraeth, in the county of Anglesea, against Dr. Bowles; adjudged by the Worshipful G. Hay, L.L.D. Dean of the Arches: instituted to remedy the grievance of preferring persons unaquainted with the British Language, to Livings in Wales. To which is prefixed, An address to the Bishops of Hereford, Bangor, St. David's, Asaph, and Llandaff. Published by the Society of Cymmrodorion. Cwn mudion ydynt heb fedru cyfarth. Bugeiliaid ydynt ni fedrant ddeall. Esay, &c.

London: Printed for William Harris, Nr St Paul's Churchyard. MDCCLXXII.'

31. ['Liber Miscellaneorum, Neu, Lyfr Amrywioldeb, yr hwn sydd yn ymadroddi ar laweroedd o destynau dieithr ac anghynefin heb fod erioed o'r blaen mewn Argraph-wasg, etto yn angenrheidiol o'u traddodi i'r Eglwys y dyddiau hyn.

Llanymddyfri: argraphwyd gan Dan Thomas 1773.'‡]

## 1774.

1. 'Gwybodaeth ac Ymarfer o'r Grefydd Grist'nogol, Wedi ei gymhwyso at Ddealldwriaeth Pobl annysgedig: Neu Gynhygiad i Athrawiaethu'r Indiaid. Yr hwn a fydd dra gwasanaethgar i bawb oll a elwir yn Grist'nogion, ond ni ystyriasant hyd yn hyn mo Feddwl y Grefydd y maent yn broffesu: Neu y rhai sydd yn proffesu eu bod yn adnabod Duw, ond yn eu Gweithredoedd yn ei wadu ef.

* *Gwyliedydd*, 1833, t. 180.

† Gwel rhif 12, d.f. 1776.

‡ *Llythyr* Mr. J. R. K. Jones.

Mewn Ugain o Ymddiddanion neu Bennodau. At yr hyn y chwanegir Hyfforddiadau a Gweddiau I Bobl ddi gred, I Athrawon, I Ddisgyblion, I Ddynion neillduol, I Deuluoedd, I Rieni dros eu Plant, ar Suliau, &c. Gan y gwir Barchedig Dâd yn Nuw, Thomas Wilson, D.D. Diweddar Arglwydd Esgob Sodor a Manaw. A gyfieithwyd i'r Gymraeg allan o'r Nawfed Argraphiad yn Sais'neg, Gan Ddafydd Elis, Curad Derwen yn Swydd Ddinbych.

Llundain, Argraphwyd gan J. a W. Olfir, ym Martholomew-Clos, yn agos i West-Smithfield. 1774.' [12plyg.]

Dafydd Elis a anwyd yn Hafod y Meirch, ym mhlwyf Dolgellau, yn 1739. Dygwyd ef i fyny o dan ofal Mr. Edward Richard, o Ystrad Meurig. Urddwyd ef yn ddiacon yn Llanelwy, yn 1764, ac yn offeiriad ym Mangor, yn 1765. Y guradiaeth gyntaf a wasanaethodd ydoedd Llanberis, yn sir Gaernarfon; oddi yno aeth i Dderwen, yn sir Ddinbych; oddi yno i Amlwch, ym Mon; oddi yno cafodd bersoniaeth fechan Llanberis; ac yn 1790, cafodd bersoniaeth Criccerth, yn yr un sir. Bu farw Ebrill, 1795, yn 56 oed. Gadawodd amryw roddion yn ei ewyllys, ym mhlith pethau ereill, 200*p.* tuag at ysgol i dlodion Criccerth, Treflys, ac Ynys Cynhaiarn, tra fyddo dwfr yn rhedeg. Cydnabu ei ddiolchgarwch i Ystrad Meurig, trwy roddi Rowlands's 'Mona Antiqua' yn anrheg i'r ysgol hòno; a gadawodd ei holl ysgriflyfrau barddonol i Mr. D. Thomas *(Dafydd Ddu Eryri)*. Y mae cerfiad ar gareg ei fedd ym mynwent Criccerth, yn dywedyd am dano ei fod yn 'Ieithydd a Bardd godidog; diwyd yn ei alwedigaeth o Weinidog yr Efengyl; gweniaith a rhagrith oedd gas gan ei enaid; ac efe a'i ceryddai yn llym yn ereill.' Terfyna ei feddargraff â thri englyn gan ei gyfaill, D. Ddu Eryri.* Cyhoeddwyd y llyfr uchod o'i gyfieithiad ar draul y 'Gymdeithas er Lledaenu Gwybodaeth Gristionogol,' a gwerthid ef am 1*s.* 9*c.* Y cyhoeddydd†—

John Rivington, a fu yn cynnal masnach gryn fawr, fel llyfrwerthydd, ym Mynwent St. Paul, Llundain, dros fwy na hanner can mlynedd, lle y bu farw Ionawr 16, 1792. Dilynwyd ef yn ei fasnach gan ei feibion, Francis a Charles Rivington. Bu farw Francis Rivington, Hydref 18, 1822, yn 77 oed, gan adael ei fab, John Rivington, yn feddiannydd y fasnach.‡ Bu y Rivingtons, yn feibion, wyrion, a neiaint, yn y fasnach tua chant a hanner o flynyddoedd, yn llyfrwerthwyr i'r Gymdeithas er Taenu Gwybodaeth

* *Greal neu Eurgrawn* Caernarfon, Ion. 1800, t. 25.

† ['Llundain, argraphwyd gan J. Rivington,' yw yr argraffeb yn llawysgrif ein hawdwr: ond megys uchod y mae yr argraffeb a'r cyfan o'r wyneblen mewn cyfargraff sydd yn awr ger fy mron. Os cywir argraffeb ein hawdwr, rhaid bod rhai o'r cyfargraffion yn amrywio yn hyn o beth. Ond gan nad yw efe yn rhoddi y rhag ddalen yn gyflawn, y mae lle i dybied nad oedd y gwaith o fewn cyrhaedd iddo pan yr ysgrifenai, ac mai mewn amryfusedd y dygwyd enw Rivington i mewn. Ymddengys mai rhif 15 dan y flwyddyn hon oedd gan yr awdwr o flaen ei feddwl.]

‡ Timperley's *Dictionary of Printers and Printing.*

Gristionogol, ac yn cael eu cefnogi gan yr esgobion a'r offeiriaid o'r egwyddorion a'r gwaedoliaeth uchaf.*

2. 'Llythyr Rysiart Dafies, D.D. Esgob Tŷ Ddewi, at y Cymry, Yr hwn Lythyr a 'sgrifennodd efe at ei Gyd-wladwyr, o flaen Cyfieithiad William Salsbri o'r Testament newydd, i'w hannog hwy i ddarllain a defnyddio Gair Duw. Y trydydd Argraffiad.†

Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Ross, yn Heol-y-Prior. M,DCC,LXXIV.'

Y Parch. Peter Williams a gyhoeddodd yr argraffiad hwn.

3. 'Cydymaith i'r Hwsmon, neu Lyfr yn cynnwys ynddo Fyfyrdodau ar bedwar Tymmor y flwyddyn, ac ar amryw achosion ereill; ynghyd ac amryw Ganiadau ac Englynion cymmwys i bob Myfyrdod, i adfywio'r gwaith, a dyfyru'r Darllenydd. Gan Hugh Jones gynt o Faesglaseu.

Llundain : Printiedig gan T. Davies, Heol St. Ioan, Maes y Gof.‡ Yn y flwyddyn MDCCLXXIV.' 8plyg.

Hugh Jones a anwyd yn y Maesglasau, ger llaw Dinas Mawddwy, yn sir Feirionydd, tua'r fl. 1750. Cadw Ysgol Symmudol yn y cyffiniau, ar derfynau siroedd Meirionydd a Threfaldwyn, yr oedd Hugh Jones ; a byddai hefyd yn gwerthu llyfrau yn y cymmydogaethau lle y byddai, tros argraffwyr a llyfrwerthwyr y Mwythig. Gellir yn eithaf priodol ei alw yn llenor; canys bu o'i febyd i'w fedd yn ymdrafod â llyfrau. Bwriadai ei rieni unwaith ei ddwyn i fyny yn weinidog i'r Eglwys Sefydledig, fel y dygasent ei frawd, y diweddar Barch. D. Jones; ac anfonwyd yntau i ysgol barotoawl i'r dyben hyny: ond gan yr ystyriai ef hyny yn ormod o gaethiwed ar ei dueddfryd naturiol, efe a roes yr ymgais i fyny. Cynnygiwyd iddo lawer sefyllfa o elw lawer gwaith, ond gwrthodai bob amser bob cynnygiad o'r fath, fel y gallai fod yn rhyddach i ymwneyd â llenyddiaeth Gymreig, ac i beidio ag ymdrafod â therfysg y byd, i'r hyn yr oedd ganddo fawr wrthwynebiad. Yr oedd yn nyddiau ei ieuenctyd yn dra hoff o brydyddu, a byddai yr holl gymmydogaethau yn adseinio ei bennillion. Yr oedd yn meddu cryn lawer o chwaeth i gyfaddasu ei gyfansoddiadau i chwaeth yr oes, pan oedd y dull chwareuol yn boblogaidd yn y Dywysogaeth. Yr oedd hefyd

* [Y maent hyd heddyw yn dwyn yr unrhyw fasnach ym mlaen, ac y maent ym mhlith y mwyaf cyfrifol o gyhoeddwyr a llyfrwerthwyr Llundain.]

† Gwel rhif 2, d.f. 1567 ; nid ydys wedi cael ond dau eto. [Ymddangosodd yr *ail* argraffiad yng nghysswllt â'r ail argraffiad o'r 'Ffydd Ddiffuant' yn 1671 : gweler rhif 1, dan y flwyddyn hòno. Nid wyf yn meddwl iddo ymddangos ar ei ben ei hun erioed cyn y tro hwn ; canys ymddengys mai yng nglŷn â Thestament Salsbri yn unig yr argraffwyd ef yn 1567, er bod ein hawdwr, ar awdurdod Moses Williams, wedi ei gofnodi wrtho ei hun megys rhif 2 dan y flwyddyn hòno.]

‡ St. John Street, Smithfield.

yn hyrwydd mewn cerddoriaeth eglwysig, neu salmyddiaeth. Ond y rhan fwyaf o'i lafur, fel y gwelir, a fu cyfieithu a chyhoeddi traethodau yn Gymraeg, yn benaf traethodau duwinyddol. Ond i goroni ei holl lafur, efe a gyfieithodd waith *Iosephus* i'r Gymraeg, a'r hwn a gyhoeddwyd. Efe hefyd a gyfieithodd gyfrol helaeth 8plyg o 'Feddyginiaethau Teuluaidd' Buchan. Dechreuodd hefyd gyfieithu Esboniad helaeth y Parch. Matthew Henry, ac aeth mor bell a Lefiticus; ond o blegid maint y gwaith a'i oedran mawr yntau, bu gorfod iddo roi y gwaith heibio. Yr oedd ganddo hefyd mewn llaw gyfieithiad o'r 'Byd a Ddaw' gan y Dr. Watts, pan y rhoes angeu derfyn ar ei einioes, yn Ninbych, lle yr ydoedd fel darllenydd yn swyddfa argraffu Mr. Gee, yn 1825, yn 75 oed; a chladdwyd ef ym Mynwent yr Eglwys Wen, ger y dref hòno.*

4. 'Pererindod Ysprydol, o'r Aipht i Ganaan. Tan Rith Breuddwyd. O gasgliad y Pererin, allan o Waith Hunan-Ymholiad, yn Nyffryn Ystyriaeth.

Caerfyrddin, Argraffwyd tros y Parch. Dafydd Jones, o Bont-y-Pwl, Gan Ioan Ross. M,DCC,LXXIV.' [12plyg: 96 tudalen.]

Ymddengys fod hwn yn ail argraffiad.†

5. 'Pregeth a bregethwyd yn Eglwys Plwyf Llangynyw, yn sîr Drefaldwyn, ar farwolaeth Mr. John Nightingale, ar ddydd Sul, Gorphenaf 10, 1774.

Mwythig.'

6. 'Cristianawgrwydd Catholic, neu Draethawd Byrr tuag at leihau rhif gwrthddadlau ym mhlith Crist'nogion; yn bur addas i'r dyddiau presennol, yn enwedig ymhlith y Plwyfolion hynny, lle i mae'r Methodistiaid, neu Hoffwyr Crefydd y Goleuni Newydd yn cael cynhwysiad. Gan Arch Esgob dysgedig.

Mwythig.'

7. 'Aurora Borealis; neu Y Goleuni yn y Gogledd, fel arwydd o Lwyddiant yr Efengyl yn y dyddiau diweddaf; Neu Shecinah'r Mil Blynyddoedd: Mewn Dull o Lythyr oddi wrth Ermeneus y y Lladmerydd, at Agrupnus y Gwyliedydd. Gan William Williams. Yr ail argraphiad.

Aberhonddu, Argraphwyd dros yr Awdwr gan E. Evans. 1774.'

8. 'Rheolau Bywyd Dynol a gyfieithwyd o Scrifen yr Indiaid, yr hwn a sgrifenwyd gan un o'r Philosophyddion, sef y Braminiaid.

* *New Monthly Magazine*, vol. xviii. p. 40.

† Gwel rhif 1, d.f. 1758.

At yr hyn y rhagosodwyd Am y dull, a'r modd y dyallwyd ac yr amlygwyd y 'Sgrifen. O gyfieithiad Hugh ap Hugh. Wedi ei olygu a'i ddiwygio gan Wm. Griffith.

Dulun.'

9. 'Cennadwri a Thystiolaeth ddiweddaf Howel Harris, Yswaen. Gydag ychydig o ystyriaethau ysprydol, a bigwyd allan o wahanol fannau yn ei ddydd-lyfr, &c.

Trefecca.'

10. Addysg Ferr yng Ngwasanaeth Duw a Disgyblaeth Eglwysig y Testament Newydd, mewn ffordd o Holiadau ac Attebion; gydag Eglurhadau a Chadarnhad o'r cyfryw attebion.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Ross, yn Heol y Prior. 1774.'

['Eglurhad ar Drefn Eglwysig gynnulleidfäol ydyw, neu Annibyniaeth gymmedrol, o'r un golygiadau â'r Dr. Owen, Matthias Maurice, â'r Dr. George Lewis. Mae y llythyrenau 'J. G.' wrth y Rhagymadrodd, a thebyg yw mai y Parch. John Griffith oedd y cyfieithydd. Yn fuan ar ol hwn cyfieithodd 'Achosion Cydwybod' Pike a Hayward, a 'Dechreuad a Chynnydd Crefydd yn yr Enaid,' gan y Dr. Doddridge.'*]

11. 'Ystyriaethau o anchwiliadwy olud Crist, a gwahoddiad i bawb i'w dderbyn a'i ddefnyddio, mewn Pregeth a gyhoeddir ar annogaeth y rhai a'i clywsant yn y cyfarfod o weinidogion yn Watford, gerllaw Caerffili, Awst, 10, 1774. At ba un y chwanegwyd dwy hymn, wedi eu troi o'r Sais'neg. Gan Solomon Harries.

Caerfyrddin, argraffwyd dros yr awdwr, gan J. Ross. 1774'.

Solomon Harries ydoedd weinidog yr Ymneillduwyr Henaduriaethol yn Abertawy, ac a gafodd ei addysg yn Athrofa yr Ymneillduwyr yng Nghaerfyrddin, dan y Parch. W. Evans.† Bu un flwyddyn yn athraw yr athrofa, yr hon oedd ac sydd yng Nghaerfyrddin, pan ei symmudwyd o Gaerfyrddin i Abertawy er mwyn ei gyfleusdra. Marwolaeth a luddiodd iddo barhau. 'Yr oedd yn foneddwr o ddysg a duwioldeb mawr, ac yn addurn i'r weinidogaeth Gristionogol. Bu farw yn Abertawy, Awst 15, 1788.'‡

12. 'Crynodeb o Salmau Canu: Sef rhai Salmau Detholedig yn gyfan; a'r rhai mwyaf buddjol, ac eglus eu hystyriaeth, o Salmau eraill, a chynnulliad o Adnodau perthynol i'w gilydd ar amryw Destynau; gyd â'r ystyr o honynt, yn fyr, o flaen pob Salm. Wedi

* *Llythyr* Mr. Morris Davies.

† *Ysgrifau* yn Llyfrfa y Dr. Williams, yn Llundain.

‡ *Gentleman's Magazine.*

eu cymwyso i gymmorth a chyfarwyddo'r Cymry i ganu Mawl i Dduw yn ddyallus, er mwy o Barch i'w Enw gogoneddus Ef, ac ychwaneg o felusder ac adeiladaeth i'w heneidjau eu hunain. Gan y Parchedig Mr. Griffith Jones, gynt Person Llanddowror yn sir Gaerfyrddin. Yr ail argraphiad.*

Llundain, Argraphwyd gan J. a W. Olfir, ym Martholomew-clôs, yn agos i West-Smithfield. MDCCLXXIV.'

13. 'Antinomiaeth, Bwbach y Rhan ffurfiol o'r Eglwys Grist'-nogol, (Ar ol ei hela trwy holl Wledydd Cred) wedi ei ddal; a ffeindio allan ei fod yn gynhwysedig yn fwy mewn Ymarferion nâ Phyngciau; mewn Proffes wag, ac Ymarweddiad penrydd, nag unrhyw Set o Egwyddorion; ac felly wedi ei eni a'i fagu yn y Llwyth uchod—Ym Mywyd y Parchedig Mr. John Hart, Gweinidog yr Efengyl gynt yn Llundain: yr hwn ar ol Adnabyddiaeth o'r Arglwydd, a syrthiodd ymaith i Fywyd rhydd, ond a adferwyd drachefn i Gymmundeb â Duw: ac yn ddiweddar a hunodd yn yr Arglwydd. Wedi ei 'sgrifennu yn Sais'naeg a'i Law ei hun, yn Rhagymadrodd ei Lyfr Hymnau. At ba un y 'chwanegwyd Rhai Hymnau ar Fesur newydd. Gan W. Williams.

Aberhonddu, Argraphwyd dros y Parchedig Mr. W. Williams, gan E. Evans. M,DCC,LXXIV.' [12plyg: 24 tudalen.]

14. 'Hanes byr o Fywyd dychlinaidd, a dedwydd Farwolaeth Morgan Nathan, yn Llandeilo-fawr, yn sir Gaerfyrddin.'

'M. R.' (=Morgan Rhys) ydoedd yr awdwr, ac ar ganiad y mae.

15. 'Llaw-lyfr o Weddiau ar Achosion Cyffredin; Sef, y Bore a'r Prydnhawn, O flaen ac ar ol y Sacrament Sanctaidd, Yn Amser Clefyd, &c. Gan James Merrick, M.A. Diweddar Gyfaill o Goleg y Drindod yn Rhydychen. Wedi ei gyfieithu i'r Gymraeg gan David Ellis, Curad Derwen yn sir Ddinbych.

Llundain: argraphwyd i J. Rivington, Gwerthwr Llyfrau i'r Gymdeithas er cynhyrchu Gwybodaeth Cristianogol, ym Mynwent St Paul (No. 62.) M DCC LXXIV. [Pris dwy Geiniog, neu 14 Swllt y cant.]' [12plyg: 24 tudalen.]

[Ymddangosodd hwn o flaen rhif 1, ond o fewn yr un flwyddyn. Yr awdwr, James Merrick, A.C., a aned yn Reading, swydd Berc, yn 1720; derbyn-iodd ei ddysg ym Mhrifysgol Rhydychain; a bu farw yn 1769. Ei brif weithiau yw—'Poems on Sacred Subjects;' 'Annotations on the Psalms;' 'Annotations on the Gospel of St. John;' 'A Metrical Version of the Psalms;' yng nghyd â chyfieithiad o Tryphiodorus, prydydd Groeg o'r bummed ganrif. Dyfynir Merrick ar y Salmau yn fynych yng 'Ngeiriadur Ysgrythyrol' Charles.]

* Gwel rhif 6, d.f. 1743.

16. 'Trydydd Llythyr hen Bechadur, at ei gyd-frodyr, &c. Gan Ellis Roberts, o Landdoged, yn sir Ddimbech. At yr hyn y chwanegwyd byrr a chywir Hanes am Ann Williams, gwraig feichiog o dref Caerlleon, yn sir Fynwe, yr hon a aeth ar astyllen gyd a'r afon 12 milldir, a thrwy Ragluniaeth yr Arglwydd a ddaeth i dir sych, megys y daeth Jona gynt.

Aberhonddu; argraphwyd gan E. Evans, tros Peter Morris. 1774.'

Am hanes helaeth a manwl am yr amgylchiad uchod, gellir ei weled yn yr awdwyr sydd wedi ysgrifenu ar sir Fynwy.* Yr awdwr—

Ellis Roberts='Elis y Cowper,' oedd yn greadur hynod yn ei ddydd, cymmysgedig o annuwioldeb a chrefydd, y tu hwnt i'r cyffredin o feirdd yr oes. Er ei fod yn ymyraeth llawer â'r Awen, prin, er hyny, yr oedd hi a'i chyfeillion yn ei gydnabod. Y mae ar gael 'Englynion i Ellis Roberts y Cowper; Sef, Atteb, annerch a chyngor y Bardd Coch o Fon,† i Elisa Gowper, Pastynfardd, Llanrwst, yn cynnwys athrawiaeth arbennig i ganu'n dincerddawl gymmeradwy, yn ol rheol ac arfer y Gofeirdd godidocaf o'r oes; ynghyd â thaflen o enwau yr holl drecc, cêr, offer, a pheiriannau angenrheidiol i'r Gelfyddyd, na cheir mo'r fath mewn un Gramadeg a argraffwyd erioed.'‡ Gogan ydyw i waith bongleraidd Ellis, yn ceisio barddoni, ac yn enwi y pethau angenrheidiol, yn ol offer celfyddyd y cwperiaid neu gylchwyr. Dywedir 'mai creadur hirfain, teneu, gwargam, â garau crychydd iddo, ydoedd ef. Yr oedd y Cowper yn hynod o annuwiol, er ei fod weithiau yn canu ac yn ysgrifenu llythyrau a phregethau difrifol.§ Claddwyd ef yn Llanddoged, ger Llanrwst, Tachwedd 4, 1787.

17. 'The History of Wales. Written originally in British, by Caradoc of Lhancarvan, Englished by Dr. Powell, and augmented by W. Wynne, Fellow of Jesus College, Oxon. To which is added, A Description of Wales, By Sir John Price. A new Edition, greatly improved and enlarged, with Pedigrees of Families.

London: printed for T. Evans, at No. 50, in the Strand, near York Buildings. MDCCLXXIV.' [8vo.]

* Coxe's *History of Monmouthshire;* a Manby's *Historic and Picturesque Guide from Crofton, through the Counties of Monmouth, &c.* [Gellir gweled crynodeb o'r un hanes yn Gymraeg yn y *Cylchgrawn* (1834), i. 12.]

† Hugh ab Hugh, neu Hugh Hughes; gwel rhif 1, d.f. 1763.

‡ *Diddanwch Teuluaidd*, ail arg. t. 124. [Gwaith Gronwy Owain yw yr englynion hyn, a cheir hwynt yn y *Gronoviana*, t. 114.]

§ *Ysgrif* y Parch. R. Ellis.

Yr oedd hwn y pummed argraffiad.* Am y cyhoeddydd—

Thomas Evans, aeth i Lundain yn dlawd, a chafodd le fel cludydd i lyfrwerthydd, a daeth ym mlaen trwy ei ddiwydrwydd, nes dyfod yn un o'r masnachwyr helaethaf yn Paternoster Row. Yr oedd yn Gymro o sir Faesyfed, ac yn ewythr i T. Evans a fu farw yn ddiweddar. Bu farw yn dra chyfoethog, Gorphenaf 2, 1803. Dymunodd yn ei ewyllys, fod iddo gael ei gladdu heb nac arch nac amdo, ac na byddai i'r draul fod yn fwy na deugain swllt.

18. 'Marwnad, er Coffadwriaeth am Hugh Williams, o Gornwal, ym mhlwyf Llanfigen, yn sir Frecheiniog, yr hwn a ymadawodd â'r byd hwn, y ddeufed dydd ar hugain o Fawrth, yn y flwyddyn 1774. Gan William Williams.

Aberhonddu, argraphwyd gan E. Evans, lle y gellir cael argraphu pob math o gopiau am bris rhesymol, a chael ar werth amryw lyfrau Cymraeg a Saisnaeg, &c. M,DCC,LXXIV.'

19. 'Cyfarwyddwr ffyddlon at Orseddfaingc y Gras: sef, ffurf o Weddiau i'w harfer mewn Teuluoedd foreu a hwyr, &c. Gan Weinidog Annheilwng o Eglwys Loegr. Yr ail argraphiad.†

Llundain, Argraphwyd gan J. a W. Olfir, ym Martholomew-Clôs, yn agos i West-Smithfield. M DCC LXXIV.' [12plyg.]

20. 'Aleluia, neu Hymnau perthynol i Addoliad cyhoeddus. Gan Benjamin Francis.

Caerfyrddin: argraffwyd dros yr awdwr gan J. Ross. 1774.'

Benjamin Francis ydoedd fab i'r Parch. Enoch Francis,‡ gweinidog y Bedyddwyr, ac a anwyd ym Mhencelli, ger Castell Newydd yn Emlyn, yn 1734. Bedyddiwyd ef yn 1749, yn 15 oed, a dechreuodd bregethu yn 19 oed. Cafodd ei ddysgeidiaeth dan ofal Mr. Fosket a Mr. Evans, yn Athrofa yr enwad ym Mristol. Bu ar brawf fel gweinidog ym Mristol, ac yn Sodbury; ond ni sefydlodd hyd y fl. 1757, pryd yr aeth i Horsley, yn sir Gaerloew, lle yr ordeiniwyd ef yn 1758, a lle yr arosodd hyd ei farwolaeth.‡

21. 'Gweledigaetheu y Bardd Cwsc. Y Rhann Gyntaf.

Argraphwyd yn y Mwythig gan Stafford Prŷs, Gwerthwr Llyfrau. M D CC LXXIV.' 32plyg. [24plyg.]

Yr oedd hwn y pummed argraffiad.§

* Gwel rhif 1, d.f. 1584; rhif 1, d.f. 1663; rhif 1, d.f. 1697; a rhif 4, d.f. 1702; a hwn yma.

† Gwel rhif 2, d.f. 1727; a rhif 3, d.f. 1733.

‡ *Hanes y Bedyddwyr*, gan Thomas, t. 249, 296, 387.

§ Gwel rhif 1, d.f. 1703; rhif 6, d.f. 1720; rhif 14, d.f. 1767; rhif 14, d.f. 1768; a hwn yma.

[Y mae pob tudalen o'r argraffiad hwn yn cyfateb i dudalenau yr argraffiad cyntaf; ac y mae camargraffion hwnw wedi eu hadnewyddu gan mwyaf oll yn yr argraffiad hwn. Hwn ydoedd y *chweched* argraffiad; a'r olaf, hyd yr wyf yn gwybod, yng nghorff y 18fed ganrif. Y mae o leiaf *bymtheg* argraffiad wedi bod o'r 'Bardd Cwsg' er pan yr ymddangosodd gyntaf yn 1703 hyd y pryd hwn (1868). Y nesaf at hwn yma yw argraffiad Merthyr Tydfil yn 1806.]

22. 'Y Catecism Byrraf. A gyflwynwyd gan Gymmanfa o Ddifynyddion yn Westminster, i'r Ddau Dŷ o Barlament, a chwedi ei Gymmeradwyo ganddynt. Yn cynnwys Egwyddorion y Grefydd Grist'nogol; Ynghyd a Phrofiadau Ysgrythyrol.

Aberhonddu, argraffwyd gan E. Evans, yn y flwyddyn M,DCC,LXXIV.'

Yr oedd hwn yn ail argraffiad o leiaf.*

23. 'Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, yn y flwyddyn 1774.

Caerfyrddin, argraffwyd gan Ioan Ross, yn Heol y Prior. 1774.'

24. 'Eight Sermons upon Practical Subjects, preached at the New Church in Llangeitho, South Wales: by the Rev. Mr. Daniel Rowland: and now Attempted to be Translated from the Original or British Language. The Second Edition.

London: Printed to the Editor Thos. Davies, near Haverfordwest, South Wales; Price Two Shillings. 1774.'

Cyhoeddwyd hwy gan 'T. Davies, Hwlfford,' yr hwn oedd yn un o'r cynghorwyr Methodistaidd. Y cyfieithydd ydoedd y Parch. John Davies, periglor Sharncote, yn sir Wilts, a chynt o Rydychain. Yr oedd yr enwau a gafwyd fel rhagdalwyr, yn cymmeryd 2751 o lyfrau. Cymmerodd D. West, Ysw., Smithfield, Llundain, 200; y Parch. W. Romaine, 100; David Jones, Ysw., sirydd Morganwg, 100. Ym mhlith y tanysgrifwyr y mae y Parch. N. Rowlands, am 10, a'r Parch. P. Williams, am 15. Y mae 'Sarah Jones, Bala' (wedi hyny, Mrs. Charles) yn eu plith. Dywedir y gwerthwyd tuag 8000 o'r argraffiad Cymreig.†

25. 'Lyfr Gweddi Gyffredin.

Argraffwyd yn y Mwythig, gan Stafford Prys. 1774.'

26. 'Tirion Wahoddiad i bob Pechadur ddyfod at Iesu Grist. Gan Thomas Jones.'

Pregeth ydyw ar *Mat.* xi. 28.

Yr oedd yr awdwr, y Parch. THOMAS JONES, yn byw yn y Maes [ger Pencareg,] yn sir Gaerfyrddin. Yr oedd yn foneddwr neillduol barchus gan ei genedl, o blegid amrywiol ragoriaethau, fel

* Gwel rhif 7, d.f. 1758.

† Gwel rhif 2 a 3, d.f. 1772.

Cristion a gweinidog. Cyhoeddodd amrai bregethau, a rhai marwnadau Cymreig. Bu farw yn Peckham, Surrey, Hydref 4, 1819, yn 60 oed.*

27. ¶ 'Diary of a Journey through North Wales in 1774. By Samuel Johnson.'

28. 'Duwiol Goffadwriaethau: Neu Fyrr a Chywir Hanes am Amryw o Ddifinyddion dysgedig, o wahanol Farnau, Pa rai a ddioddefasant Ferthyrdod er mwyn yr Efengyl, ar Amryw Amserau yn yr Oesoedd a aethant heibio. Wedi eu casglu oddiwrth lawer o Awdwyr yr hên Oesoedd, a'r Oes ddiweddar hefyd. Ynghyd a'r Pethau mwyaf hynod yn eu Bywydau, eu Hymarweddiadau, a'u Dioddefiadau. Wedi eu cyfieithu i'r Cymraeg, gan Thomas Jones. Ac na bu argraffedig erioed o'r blaen yn yr Iaith hon.

Caerfyrddin, argraffwyd dros yr Awdwr gan I. Ross, yn Heol y Prior. 1774.' 270 o dudalenau 12plyg.

29. 'Welch Piety: or a farther Account of the Circulating Welch Charity Schools from Michaelmas 1773, to Michaelmas, 1774, being Testimonials relating to the Masters and Scholars of the said Schools. Together with a List, shewing where each School was kept, and the Number of Scholars Taught therein.

London: Printed by J. and W. Oliver, in Bartholomew-close. M,DCC,LXXIV.'

30. 'Cyngor o Addysg i Ddynion Iefaingc o Flaen Conffirmasiwn.

Llundain: A argraphwyd i J. Rivington, Gwerthwr Llyfrau i'r Gymdeithas er cynnhyrchu Gwybodaeth Cristianogol, ym Monwent St. Paul, Nº 62. MDCCLXXIV.'

31. 'Byr fynegau o feddyliau Ymneillduwyr am Natur Eglwys Efangylaidd; ynghyd a rhai Rhesymmau am eu Hymneillduad oddi wrth yr Eglwys Sefydledig, Ac a elwir yn gyffredin Eglwys Loegr. Mewn ffordd o Holiadau ac Attebion. Gan Ymneillduwr.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan I. Ross, yn Heol-y-Prior. 1774.'

32. 'Calendars of the Ancient Charters and of the Welch and Scottish Rolls, now Remaining in the Tower of London: Also Calendars of all the Treaties of Peace entered into by the Kings of England with those of Scotland; and of Sundry Letters and public Instruments relating to that Kingdom, now in the Chapter-house at Westminster. Together with Catalogues of the Records brought to Berwick from the Royal Treasury at

* *Cambro-Briton*, vol. i. p. 160.

Edinburgh: of Such as were transmitted to the Exchequer at Westminster, and of those which were removed to different Parts of Scotland by Order of King Edward I. The Proceedings relating to the carrying back the Records of Scotland into that Kingdom; and the Transactions of the Parliament therefrom the 15th of May 1639, to the 8th of March 1650. To which are added Memoranda concerning the Affairs of Ireland, extracted from the Tower Records. With Four Copper Plates, exhibiting all the various Hands in which the several Charters have been written, from the Reign of King William the Conqueror to that of Queen Elizabeth. To the Whole is prefixed an Introduction, giving some Account of the State of the Public Records from the Conquest to the present Time. By Sir Joseph Ayloffe, Bart. V.P. A.S. and F.R.S.

London: Printed for Benjamin White, at Horace's Head, in Fleet Street. MDCCLXXIV.'

33. 'Can Dduwiol, i annog Dynion i Gariad ac Elusengarwch, Yn y Dyddiau oeraidd hyn. At yr hyn y 'chwanegwyd Can arall yn cynnwys, Holiad Dyn dall genedigol yng nghylch yr Haul, a'r Goleuni.

Aberhonddu, Argraffwyd gan E. Evans, tros Philip Powel, Clochydd Llangynidr, yn y Flwyddyn 1774.'

34. 'Taith y Pererin. Gan Thomas Dafydd, o Sir Gaerfyrddin.

Aberhonddu, Argraphwyd gan E. Evans. Lle y gellir cael Argraphu pob math o Lyfrau am Brîs rhesymmol. 1774.'

35. ¶ 'Y Frwydr Ysprydol: mewn Casgliad o Hymnau Newydd, ar amryw Fesurau. Gan Morgan Rhys, a Thomas Dafydd.'

36. ¶ 'Griddfannau'r Credadyn am Berffeithrwydd ac Anllygredigaeth; ar Fesur newydd. Gan Morgan Rhys.'

['Llyfryn o 12 tudalen, heb enw argraffydd, lle, nac amseriad iddo. Tebygol mai tua'r fl. 1773 ydoedd, ac mai John Ross oedd yr argraffydd, gan fod ail argraffiad Hymnau yr awdwr wedi ei ddwyn allan ganddo ef yn y fl. hon.'*]

37. 'A Political Survey of Britain, being a seris of Reflections on the Situation, Lands, Inhabitants, Revenues, Colonies, and Commerce of this Island, intended to show that we have not as yet approached near the summit of improvement, but that it will afford employment to many generations before they push to the utmost extent the natural advantages of Great Britain. By John Campbell, L.L.D. In two volumes.

* *Llythyr* Mr. Morris Davies. Y mae rhif 36 a 35, o ran maint ac argraffwaith, yn hollol yr un fath â'u gilydd, ac â rhif 15, d.f. 1770; diau mai cynnyrch yr un wasg ydynt, a thebygol mai yn 1770 y cyhoeddwyd y tri.]

London, printed for the Author. 1770.' [4to.]

[Yr awdwr, y Dr. JOHN CAMPBELL, ydoedd ysgrifenydd Ysgotig diwyd a galluog. Ganed ef yn Edindurgh, Mawrth 8, 1708. Pan yn bum mlwydd oed gadawodd Ysgotland, ac ni ddychwelodd iddi mwy. Ysgrifenodd lawer iawn mewn gwahanol gangenau o lenoriaeth, heb law y gwaith a gofnodir yma. Yn 1754 anrhegwyd ef â gradd Doethor Cyfreithiau gan Brifysgol Glasgow. Bu farw yn Llundain, Rhag. 28, 1775.]

38. 'Pregeth. A bregethwyd yn Eglwys Plwyf Llangynew, Yn Sîr Drefaldwyn: Ar Farwolaeth Mr. Joan Nightingale, Ar Ddydd Sûl Gorphenaf 10, 1774. Gan y Parchedig William Jones, B.A. Diweddar Giwrate Baschurch, yn Sir y Mwythig, ac yrwan yn Llangynew.

Argraphwyd (dros yr Awdwr) gan T. Wood; yn y Mwythig, ag a werthyr gan G. Robinson, yn Lyndain, D. Salmon yn y Trallwyn, a chan pob Gwerthwr Llyfreu mewn Tref a Gwlad. [Pris Chwe cheiniog.]'

39. 'The last Message and dying Testimony of Howell Harris, Esqr; late of Trevecka in Wales. Found among some of his Papers.

Trevecka, Printed 1774.'

40. ¶ 'Two very Interesting and Full Papers relating to the Property of Sir William Morgan, of Tredegar, and Old John Morgan, of the same Ancient Mansion in the Co. of Monmouth.'

Yr oedd Syr William Morgan wed priodi merch y Dug Dyfnaint, ac yr oedd ei holl etifeddiaethau helaeth wedi eu cymmysgu a'u gwahanu. Y mae y papyrau hyn yn traethu pa fodd y rhanwyd hwy ac argraffwyd hwynt yn anghyhoedd yn 1774.

41. 'A Dramatic Poem. By W. Mason.'

Cynnwysa 116 tudalen. Yr olygfa yw Ynys Mon. Y mae yn perthynu i Caractacus, brenin y Deheubarth, a'i orchfygiad gan *Ostorius*, yr hwn a enciliodd gyda'i unig ferch i blith y Derwyddon i Fon. Cynnwys lawer o sothach hynod am y Beirdd Cymreig a'r Derwyddon.

42. [' Catecism Byrr a Buddiol. Yr ail waith yn argraffedig.

Aberhonddu, argraffwyd dros y Parchedig Morgan Jones, y Parchedig Mr. Thomas Lewis, Rees Pritchard, Thomas Watcin, ac Evan Morgan, gan E. Evans. M.DCC.LXXIV.'

'Llyfryn o 48 tudalen ydyw, yn cynnwys rhagymadrodd, a rhai nodiadau lled helaeth ar waelod y ddalen ar rai pynciau pwysig o athrawiaeth. Calfinaidd yw ei gynnwysiad, a thebygol mai Annibynwyr oedd y cyhoeddwyr.'*]

* *Llythyr* Mr. M. Davies.

## 1775.

1. 'Tair Pregeth ar y Testunau canlynol: Luc xv. 5; Ioan v. 6; Sal. lxv. 5. A bregethwyd yn ddiweddar gan y Parchedig Daniel Rowland, Gweinidog yr Efengyl yn Llangeitho; a Caplain i'r Duke o Leinster. Gloria mea Christus.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Ross, tros Thos. Davies o sir Benfro. 1775. [Pris chwe' cheiniog.]' [12plyg.]

Dywedir fod y pregethau hyn, ac ereill o waith Mr. Rowlands, ar werth gan Mr. John Evans, o'r Bala; Mr. David Williams, Tre castell; Mr. Bethuel Griffiths, Castell Nedd; a Thomas Davies, ger llaw Hwlfforddd.

2. 'Golwg Ferr ar yr Hanes ysgrythurol oll; Gyda Hanes yr Eglwys Iuddewig o ddiwedd yr Hen Destament hyd at Grist. A'r Prophwydoliaethau pennaf perthynol iddo: Wedi ei hegluro'n ddigonol mewn Ffordd o Holiad ac Atteb. Y Nghyd ag Amryw Nodau ar Hanes a Chrefydd y Patriarchiaid, yr Iuddewon a'r Crist'nogion, ac ar Ddeddfau, Llywodraeth, Sectau, Defodau a' Sgrifeniadau yr Iuddewon. Gan I. Watts, D.D. A gyfieithwyd i'r Gymraeg, Gan y Parchedig E. Griffiths. At yr hon y chwanegwyd Llechres o'r Amseroedd yr ysgrifenwyd Llyfrau yr Ysgrythur, a'r Pethau hynottaf o Ddechreuad y Byd hyd Ddinystr Jerusalem. Allan o Waith yr Enwog Ostervald.

Caerfyrddin, Argraffwyd ac ar werth gan Ioan Ross. MDCCLXXV.'

Evan Griffiths ydoedd weinidog yr Ymneillduwyr yng Nghapel Seion, ym mhlwyf Llanddarog, yn sir Gaerfyrddin, lle yr ordeiniwyd ef yn 1752. Arminiad y dywedid ei fod o barth ei olygiadau athrawiaethol, er y mynai rhai ei gyhuddo o Undodiaeth; ond credir nad oedd sail i'r cyhuddiadau hyny. Bu yno yn weinidog llwyddiannus hyd ei farwolaeth, ysbaid hanner can mlynedd; felly dechreuodd weinidogaethu yno pan oedd ond 17 oed. Bu farw Ionawr 25, 1802, yn 77 oed.*

3. 'Y Fodrwy Briodas yn gymmwys i'r Bys, Sef Pregeth a gyhoeddwyd mewn Priodas yn St. Edmunds, yn Llundain, ger bron y Brenhinol deulu. Gan y Parch. W. Seccer, M.A. Wedi ei chyfieithu i'r Gymraeg er Lleshad cyffredinol.

Argraffwyd yn Aberhonddu, gan E. Evans, yn y Flwyddyn 1775.'

Cyhoeddwyd yr uchod ddwy waith o leiaf yn y ganrif hon hefyd. Yr awdwr—

* *Hanes Ymneillduaeth*, Morgan, t. 484; *Llythyr* y Parch. W. Thomas, Bwlch Newydd.

WILLIAM SECKER, oedd yn pregethu yn Eglwys All-Hallows, Llundain, yn amser Cromwel. Ef allai ei fod wedi marw cyn yr Adferiad, gan nad yw yn cael ei enwi ym mhlith y rhai a drowyd allan; neu ef allai iddo gydymffurfio. Yr oedd ei ddull yn hollol Buritanaidd. Y mae llyfr bychan arall o'i waith yn Seisoneg, a elwir *Non-Such Professor*, yn cael ei gyfrif yn dra phoblogaidd.

4. 'Cofiadur Prydlon Lloegr: neu Rybuddion o'r Nefoedd, sef Hanes Mr. Richard Brightley, &c. A gyfieithwyd gan Mr. E. Ellis, Gweinidog Eglwys Rhos, &c.

Mwythig.'

Yr oedd hwn yn ail argraffiad, tybygid.* Eglwys Rhos, yw Llandrillo yn Rhos, ger Conwy, ar derfynau siroedd Caernarfon a Dinbych.†

5. 'Hanes Bywyd a Marwolaeth Matthew Lee, yr hwn a grogwyd yn Nheibryn, yn yr ugeinfed flwyddyn o'i oedran. Gwedi ei gyfieithu o'r Saesonaeg er bûdd i'r Cymry.

Trefecca, Argraffwyd yn y flwyddyn M,DCC,LXXV.'

6. 'Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, yn y flwyddyn 1775.

Caerfyrddin, argraffwyd gan J. Ross, yn Heol y Prior. 1775.'

7. 'Esponiad ar Ddammeg y Pharisead a'r Publican, &c. Gan y Parchedig Mr. John Bunyan.

Caerfyrddin, Argraffwyd ac ar werth gan Ioan Ross. M,DCC,LXXV.'

8. 'Catecism yr Ymneillduwyr Protestanaidd. Yn cynnwys, I. Hanes Ferr am yr Anghydffurfwyr. II. Rhesymmau am yr Ymneillduad oddiwrth yr Eglwys Sefydledig. Gwedi ei fwriadu i addysgu a chadarnhau Pobl Ieuaingc ymhlith yr Ymneillduwyr yn Egwyddorion Anghydffurfiad. O waith y Parchedig S. Palmer. A gyfieithwyd allan o'r Trydydd Argraffiad.

Caerfyrddin, Argraffwyd tros y Cyfieithydd gan Joan Ross. M.DCC.LXXV.'

Dywedir, yn gydiol â'r rhagymadrodd, fod 'cyfeillion haelionus yn Llundain wedi cyfranu swm mawr tuag at ei draul, yr hwn sydd yn cael ei werthu mor isel ag 16*s.* y cant, fel y gallo y tlotaf ei brynu.' Yr awdwr—

SAMUEL PALMER, a anwyd yn Bedfford, lle yr oedd ei dad yn fasnachwr. Bwriadai ei dad iddo fod yn weinidog yn yr Eglwys Sefydledig, o'r hon yr oedd efe yn aelod dichlynaidd; ond efe a ddilynodd egwyddorion ei fam, yr hon oedd yn un o'r Ymneillduwyr; ac yn eu plith hwy y gorphenodd ei ddysg a ddechreuasid yn yr

* Gwel rhif 8, d.f. 1761.

† Gwel hefyd rhif 7, d.f. 1750.

Ysgol Ramadegol Eglwysig yn Bedfford. Yn 1762, efe a ymsefydlodd yn weinidog yn Hackney. Ysgrifenodd gryn lawer yn ei oes, o ba rai y mae llawer ar yr ochr Ariaidd i'r ddadl ar y Drindod. Bu farw yn 1801, yn 70 oed.*

9. 'Llythyr Difrifol, yng nghyd a Gair i Bechadur; ynghylch cyflwr ei enaid, &c.

Trefecca: argraffwyd yn y flwyddyn M,DCC,LXXV.'

10. 'A Check to Enthusiasm, or an Answer to John Philadephus.

London, 1775.'

Yn erbyn y neidio crefyddol Cymreig y mae y llyfr uchod, yn ateb i lyfr Seisonaeg yn amddiffyn hyny.

11. 'Y Catecism; Hyny yw Athrawiaeth i'w dysgu gan bob un cyn ei ddwyn i'w Gonffirmio gan yr Esgob, &c.

Llundain.'

12. 'Golwg o Ben Nebo ar Wlad yr Addewid; mewn Casgliad o Bigion o Hymnau am Gwymp Dyn yn yr Adda Cyntaf, a'i Gyfodiad yn yr Ail Adda. Wedi eu trefnu a'u diwygio allan or Ail Argraphiad; ynghyd a rhai Caniadau Newyddion, na buont argraphedig o'r blaen. Gan Morgan Rhys.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Ross, yn Heol-y-Prior. 1775.'

Gan hyny yr oedd hwn yn drydydd argraffiad.†

13. 'Patrwm y Gwir Gristion, neu Ddilyniad Iesu Grist. Gan Thomas à Kempis. Gwedi ei gyfieithu i'r Cymraeg er ystalm o amser yn ôl Editiwn yr Awdwr. Gan H. O. Gwenydeg ym Môn, Esq;

Argraffwyd yn Ngwrexham, gan R. Marsh.' 12plyg.

Ymddengys fod hwn yn chweched argraffiad;‡ a'r olaf yn y ganrif hon. Cyhoeddwyd argraffiad tlws iawn o hono, rai blynyddau yn ol, gan D. Humphreys, yn Llanfair Caereinion, wedi ei gyfieithu gan R. Jones *(Bardd Mawddach)*, o dalfyriad Seisonig y Parch. J. Wesley.§

* *Congregational Magazine.*

† Gwel rhif 12, d.f. 1764; a rhif 16, d.f. 1773; a hwn yma. [Yr oedd argraffiad y fl. 1764 yn *ail* argraffiad; ac os nid yr un yw hwn yma â rhif 16, d.f. 1773, rhaid bod hwn yn 4ydd argraffiad.]

‡ Gwel rhif 2, d.f. 1679; rhif 5, d.f. 1684; rhif 4, d.f. 1723; rhif 3, d.f. 1737; rhif 2, d.f. 1744; a hwn yma.

§ [Ymddangosodd argraffiad yn ddiweddar o hono, neu o dalfyriad o hono, ym Mhont y Pridd. Cyfieithwyd y gwaith hefyd yn lled agos o newydd gan y diweddar Hybarch John Jones, B.D., Archiagon Bangor, ychydig cyn ei farwolaeth, ond ni chafodd hyd yn hyn ei argraffu.]

14. 'Gwaedd-ddeffro i fyd cysgadlyd, mewn dwy Bregeth, wedi eu cyfiaithu o'r Saesonaeg, er budd i'r Cymru. Ynghyd a Llythyr difrifol at Bechadur yng nghylch cyflwr ei Enaid.

Trefecca: Argraffwyd, 1775.

*** Nid yw'r Llyfran hwn ar werth, ond Rhodd Ewyllysiwr da i Grefydd i'w Gydwladwyr.'

Pregethau y Parch. Charles Wesley ydynt. Y mae un o honynt yn ail argraffiad.* Y mae 'W. A.' wrth y 'Llythyr' sydd yn gydiol, yr hwn hefyd a daenid wrtho ei hun.† Wrth y Llythyr yn Seisonaeg, y mae 'W. Adams. London, April 21, 1740.' Ymddengys mai gweinidog mewn cyssylltiad â'r Parch. G. Whitfield a'r Arglwyddes Huntingdon ydoedd. Bu trwy Gymru ar ei daith i'r Iwerddon, yn 1752,‡ ac y mae yn debyg mai efe ei hun a fynodd gyhoeddi ei Lythyr yn Gymraeg, a'i argraffu yn Nhrefecca, i'w *anrhegu*, ac nid i'w werthu, fel ag yr oedd yn Seisonaeg.

15. 'Yr Act am Bwyso Aur, a osodwyd allan mewn Trefn Ysprydol, mewn Dull o Ymddiddan; ac a fwriadwyd er mwyn Budd i bob un ag sydd â dim gantho i wneuthur ag Arian; ac er Lleshad i'r cyfryw nad y'nt yn ewyllysio i'w twyllo yn y pethau mwyaf pwysfawr. Ym mha un yr amlygir y Drefn oreu i adnabod pob Twyll, ac i brofi a sicrhau Pris cywir a chyfreithlon Arian. Gan T. C.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan I. Ross, yn Heol-y-Prior. 1775.' [12plyg: t. 36.]

Y mae y rhagymadrodd§ wedi ei arwyddo gan

Rowland Hill, yr hwn, mae yn ddiau, ydoedd yr awdwr, yr hwn oedd fab ieuangaf Syr Richard Hill, Barwnig, o Hawkston, yn sir y Mwythig, a lle y ganed ef Awst 9, 1744. Cafodd ei ddysgeidiaeth yng Ngholeg Eton, a Choleg St. Ioan, Caergrawnt, lle y cyrhaeddodd ei A.C. gydag anrhydedd. Deffrowyd ei feddwl i ystyriaethau crefyddol trwy i'w frawd hynaf, Richard (wedi hyny Syr Richard) Hill,‖ ddarllen un o bregethau yr Esgob Beveridge. Pan oedd yn y brifysgol, daeth yn gyfeillgar â'r Parch. C. Simeon, yr hwn oedd y pryd hyny yn weinidog eglwysig efengylaidd yng Nghaergrawnt, ac â Mr. Robinson, gweinidog poblogaidd perthynol i'r Bedyddwyr yn y ddinas hòno; a dechreuodd lafurio ym mhob man y caffai, gan bregethu neu gynghori mewn capelau, carcharau, ac annedd-dai, yr hyn a dynodd

* Gwel rhif 3, d.f. 1751.

† Gwel rhif 9, uchod.

‡ *Evangelical Register*, 1835, pp. 309, &c.

§ [Nid y Rhagymadrodd, ond y Llythyr 'at y Darllenydd,' sydd wedi ei danysgrifio gan Rowland Hill. Y cyfieithydd sydd wedi ysgrifenu y Rhagymadrodd. Os R. Hill ydyw yr awdwr, nid annaturiol gofyn pa ham y dywedir ar ei gynddalen—'gan T. C.,' fel pe gwaith T. C. a fyddai?]

‖ Gwel rhif 2, d.f. 1769.

arno wg ei uchafiaid yn yr Eglwys, o blegid yr hyn a ystyrid yn afreolaeth, fel y cafodd chwech eu gwrthod, cyn cael derbyniad i weinidogaethu yn yr Eglwys Sefydledig. O'r diwedd darfu i esgob Bath a Wells roddi iddo urdd diacon, ond nacaodd archesgob Iorc roddi iddo ei urdd offeiriad, neu ei gyflawn urddau. Bu hyn yn achlysur iddo fyned yn fwy Methodistaidd, a dechreu gweinidogaethu ym mhob lle y caffai. Yn 1783, efe a ddechreuodd adeiladu Capel Surrey, yr hwn a agorwyd yn 1784; ac yno y bu yn gweinidogaethu ar hyd ei oes faith; gan ystyried ei hun bob amser fel gweinidog Eglwys Loegr, lle y darllenid y Litani; ond derbyniai Ymneillduwyr i'w bulpud. Ysgrifenodd amryw ddarnau; ond ei waith mwyaf poblogaidd yw ei 'Village Dialogues,' rhan o ba rai a gyhoeddwyd yn Gymraeg rai blynyddoedd yn ol, o dan yr enw 'Y Pentref mewn Terfysg.'* Bu farw Ebrill 14, 1833, yn 89 oed.† Wrth y 'T. C.' y deallir neb llai na'r

Parch. THOMAS CHARLES; a dyma y waith gyntaf i gyfarfod â'r enw, yr hyn oedd pan oedd yn ddyn ieuanc ugain oed, y flwyddyn yr aeth i'r Brifysgol. Mab ydoedd i amaethwr ym mhlwyf Llanfihangel,‡ yn sir Gaerfyrddin, lle y ganwyd ef Hydref 14, 1755. Cafodd elfenau ei ddysgeidiaeth a'i egwyddorion crefyddol yn Llanddowror, ac yn Athrofa yr Ymneillduwyr yng Nghaerfyrddin. Yn 1775, aeth i Rydychain, lle y graddiwyd ef yn B.C. Yn 1778, urddwyd ef yn ddiacon. Y weinidogaeth gyntaf a gafodd yn yr Eglwys Sefydledig, ydoedd curadiaeth yng Ngwlad yr Haf, yna Shawbury, yn sir y Mwythig, ac yn ddiweddaf Llan ym Mawddwy, yn sir Feirionydd. Yr oedd mewn undeb â'r Methodistiaid Calfinaidd cyn myned i'r weinidogaeth i'r Eglwys Sefydledig; ac yn 1785, efe a ail ymunodd â'r Methodistiaid, ac ni cheisiodd mwy am le i weinidogaethu yn sefydlog yn yr Eglwys, ond treuliodd ei oes yn llafurus ym mhlith y Methodistiaid Calfinaidd. Y mae ei weithiau yn eithaf adnabyddus. Heb law a gyhoeddwyd yn yr 18fed ganrif, cyhoeddwyd ganddo yn y 19edd ganrif:—'Y Drysorfa Ysbrydol,' am 1801 a 1811; argraffiad newydd o 'Diffyniad Ffydd Eglwys Loegr,' 1808; argraffiad newydd o waith Walter Cradock; 'A Vindication of the Welsh Methodists,' yn erbyn gwaith y Parch. Mr. Owen, person Llandyfrydog, ym Mon; 'Yr Hyfforddwr,' a llyfrau ereill, at wasanaeth yr Ysgolion Sabbothol, o ba rai y cyhoeddwyd dim llai na thua thri chant a hanner o filoedd; y 'Geiriadur Ysgrythyrol,' Prif orchwyl ei oes oedd sefydlu Ysgolion Dyddiol Cymreig Symmudol, yn debyg i gynllun person Llanddowror o'r blaen, ac o'r rhai, fel cangen o'r un cynllun, y sefydlodd yr Ysgolion Sabbothol. Efe hefyd ydoedd un o sylfaenwyr y Gymdeithas Beiblau Frytanaidd a Thramor; a than ei olygiad ef y daeth allan ddau ar-

* [Ymddangosodd o wasg Abertawy yn 1831, gydag ychydig linellau 'at y Cyffredin,' gan y Parch. W. Jones, Pen y Bont ar Ogwyr; ac attodir Pregeth Genadol o waith y Parch. D. Jones, Llanganna. Ymddengys mai cyfieithydd y ddau waith ydoedd yr argraffydd, Mr. E. Griffiths, Abertawy.]

† *Congregational Magazine*, 1833, p. 315; *Evangelical Register*, May, 1833, p. 419.

‡ [Sef Llanfihangel Abercywyn, ger tref Sant Claer, ym mharth isaf sir Gaerfyrddin.]

graffiad o'r Beibl Cymraeg, sef yn 1804 a 1814. Bu farw yn y Bala, Hydref 5, 1814, yn 59 oed.*

16. 'A Treatise of Optics: containing the Elements of the Science. In two Books. By Joseph Harris, Esq; Late His Majesty's Assay-Master of the Mint.

London, Sold by B. White, at Horace's Head, Fleet Street. MDCCLXXV.'

Yr awdwr ydoedd frawd i'r enwog Howel Harris, o Drefecca, sylfaenwr y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

17. 'Myfyrdodau Bucheddol ar y Pedwar Peth Diweddaf; Angau, Barn, Nef, ac Uffern. Gan John Morgan, M.A.

Argraphwyd yng Ngwrecsam gan R. Marsh. M,DCC,LXXV.' 24 tudalen 12plyg.

Tybygid bod hwn yn bummed argraffiad.† Y mae y rhagymadrodd yn gyfeiriedig at blwyfolion Llanfyllin, sir Drefaldwyn; a'r amseriad o Matchin, yn Essecs, y 6ed o Fai, 1714.

18. 'Pregeth ar Helynt Bresennol America. A Bregethwyd yn Christ Church, Mehefin y 23, 1775. Ar ddeisyfiad Swyddogion y Drydedd Fyddin o Ddinas Philadelphia, a Rhaglawiaeth Southwark. Gan William Smith, D.D. Penadur y Coleg yn y ddinas honno.

Brysto: argraffwyd gan William Pine, 1775.'

19. 'A Gentleman's Tour through Monmouthshire in Wales, in 1774.

London: Printed for T. Evans.'

20. 'Golwg ar Gynheddfau Gwasanaeth ac Anrhydedd Gwasanaethwyr Crist, mewn Pregeth a lefarwyd o flaen Cymmanfa o Weinidogion yn y Dref Wenn yn gyfagos i'r Castell Newydd yn Emlyn ar y 19 o fis Ebrill, 1775, gyda dwy Hymn, gan Edward Evans.

Caerfyrddin, argraphwyd dros yr Awdwr gan Ioan Ross. 1775. [Pris dau Swllt y Ddysen, i'r cyfryw Gyn'lleidfaoedd a brynant nid llai na thri Dysen, a thair Ceiniog bob un i eraill].'‡

* *Cofiant Charles*, gan T. Jones; Morgan's *Life of Charles;* Williams's *Eminent Welshmen; Methodistiaeth Cymru*, cyf. i. t. 326-348.

† Gwel rhif 1, d.f. 1707; rhif 3, d.f. 1714; rhif 1, d.f. 1745; rhif 10, d.f. 1756; a hwn yma.

‡ Gwel rhif 5, d.f. 1757; a rhif 15, d.f. 1767. [Yr Awdwr ydoedd Edward Ifan, gweinidog yr Henaduriaid yn Aberdâr, a bardd ac athronydd cyfrifol yn ei ddydd. Gwel rhif 5, d.f. 1757. Perthynai addoldy y Dref Wen gynt i'r Henaduriaid, ond perthyn weithian i'r Annibynwyr.]

21. 'Y Cristion mewn Cyflawn Arfogaeth; Neu Draethawd am Ryfel y Saint yn erbyn Diafol: &c. Y Rhan Gyntaf. Gan William Gurnal, B.D. gynt Gweinidog yr Efengyl yn Lafenham, yn Sir Suffolc, 1656. A 'Sgrifenwyd yn Gymraeg er budd i'r Cymro anhyddysg yn yr Iaith Saesonaeg. 1773.

Aberhonddu: Argraphwyd dros y Cyhoeddwr, gan E. Evans. 1775. Lle gellir cael Argraphu pob math o Gopiau, yn hardd, yn gywir, yn fuan, am bris rhesymol.'

Y mae y nodiad canlynol yn ei ddiwedd :—

'Hysbysiad.—Bydded hysbys i bawb y dêl y Traethawd hwn i'w Dwylaw, fod yr Ail Ran o Waith yr un Awdwr wedi ei Gyfieithu, ac yn barod i'w Argraphu, os bydd Galwad cyffredinol am dano; o blegid mae hwnw mor angenrheidiol i bob Milwr ysprydol a'r cyntaf —Gobeithio y bydd i Awdwr pob Bendithion rwygo'r Gorchydd oddiar Feddwl y Darllenydd i weled yr Angenrheidrwydd o gael *Holl Arfogaeth Duw i sefyll yn y Dydd drwg*, a phwy bynnag a gaffo'r Ffafr hyn ni byddant ddiffygiol o un Cynnorthwy a gynnygir iddynt yn y fath Frwydr ddigyffelyb. Boed gwlith Bendith yn cyd-gerdded â phob Moddion i gynnorthwyo Milwyr *Sion*, i ymladd tan Faner Capten ein Iechydwriaeth, ac i gael y Maes ar y Bwystfil, ac yn y Diwedd rannu'r Yspail gydâ'r Cedyrn. Hyn yw, a gobeithio a gaiff fod, difrifol Ddymuniad, Eich anheilyngaf Frodyr,

Robert Jones, John Pierce.'

William Gurnal, B.D., awdwr y gwaith uchod, ydoedd fab Thomas ac Ethelbrida Gurnal, o Walpol St. Petr, yn sir Norffolc, lle y ganwyd yntau yn 1617. Pan yn 15 oed, derbyniwyd ef yn aelod o Goleg Emmanuel, yng Nghaergrawnt, lle y cyrhaeddodd ei A.C. yn 1639, ac y gwnaed ef yn Gymmrawd. Cafodd yn fuan ei osod i weinidogaethu yn Lavenham, yn sir Suffolc, gan y Presbyteriaid, yr hwn le a wasanaethodd felly hyd farwolaeth y person, pryd y cafodd yntau y bersoniaeth yn 1644. Ond pan ddaeth Siarl ii. i'r orsedd, efe, yn hytrach nag ymadael â phobl ei ofal, a gydymffurfiodd, gan gymmeryd ei ail ordeinio, yn esgobyddol, ac ail sefydlwyd ef yn y fywoliaeth, lle y bu hyd ei farwolaeth, Hydref 12, 1679, yn 52 oed.*

Dywedir mai cyfieithydd y gyfrol hon, a'r ail, a gyhoeddwyd yn 1784, er nad yw ei enw wrthynt, ydoedd

Thomas Humphreys, yr hwn oedd amaethwr ammhriod, yn byw yn Mhen y Bryn, Edeyrn, yn Lleyn, sir Gaernarfon, ac yn berchenog y lle. Gadawodd y lle i'w wasanaethyddes, yr hon a briododd â'r Parch. John Jones, gweinidog y Methodistiaid Calfinaidd. Adeiladwyd capel cyntaf y Methodistiaid yn Edeyrn, ar dir Pen y Bryn, ac yn hollol ar draul y perchenog, Mr. T. Humphreys. Yr oedd wedi bod yn fasnachydd flynyddau yn Llundain, ac wedi arferyd gwrando llawer ar Whitfield, Romaine, ac ereill. Cyfieithydd anfedrus iawn ydoedd, fel mai prin y gellir gwneyd allan y synwyr lawer gwaith,

* *Y Traethodydd*, t. 392-3.

gan mor glogyrnaidd ydyw. Darfu i Mr. Jones, o Ddinbych, gyfieithu yn dda, y drydedd a'r bedwaredd gyfrol, ac ail gyfieithu y gyntaf a'r ail.* Am Robert Jones a John Pierce, ymddengys mai cyhoeddwyr y gwaith oeddynt hwy, er y gelwid hwy, ac y tybid eu bod, yn gyfieithwyr.

Am y rhai hyn, y cyntaf,

Robert Jones, ydoedd fab i John a Margaret Williams, o'r Sintur, plwyf Llanystumdwy, yn sir Gaernarfon, lle y ganwyd ef Ionawr 13, 1745. Dangosodd ddirfawr syched am wybodaeth yn ieuanc, a gwnaeth gynnydd a ystyrid yn ganmoladwy, er na chafodd ond ychydig o fantais o un o ysgolion Mr. G. Jones, Llanddowror, yr hon a gynnelid y pryd hyny yn y gymmydogaeth gan un Thomas Gough. Ennillwyd ef yn ieuanc i ymuno â'r Methodistiaid Calfinaidd. Ar ddymuniad Mrs. Bevan, o Lacharn, sir Gaerfyrddin, efe a ymgymmerodd â chadw ysgol ddyddiol a gynnorthwyid ganddi hi. A phan oedd wrth y gwaith hwn y dechreuodd bregethu. Bu yn cadw ei ysgol yng Nghapel Curig, sir Gaernarfon; Rhuddlan a'r Cwm, yn sir Fflint; a Bryn Siencyn, yn sir Fon. Wedi ymbriodi â Magdalen, merch Richard Griffith, o Gae'r Tyddyn, plwyf Llangybi, sir Gaernarfon, bu yn cadw ysgol yno ac ym Mryn Engan, yn yr un sir. Wedi hyny cymmerodd dyddyn bychan o'r enw Tir Bach, Rhoslan, plwyf Llanystumdwy, dan ammodrwym am saith mlynedd; ac am hyny yr adwaenid ef yn well ar hyd ei oes, a'i enw eto, fel 'Robert Jones, Rhoslan.' Wedi hyny cymmerodd dyddyn helaethach o'r enw Ty Bwlcyn, ym mhlwyf Llaniestyn, yn yr un sir, lle y bu fyw hyd farwolaeth ei wraig; a chan fod un o hen gapeli y Methodistiaid yn y gymmydogaeth hòno o'r enw Dinas, lle yr ystyrid ei gartref crefyddol, gelwid ef cyn diwedd ei oes yn 'Robert Jones, Dinas,' neu 'Y Lôn Fudr,' enw arall ar yr un lle; ac mewn ty a adeiladwyd iddo wrth y capel hwnw y bu farw, Ebrill 18, 1829, yn 84 oed. Yr oedd yn ddyn arafaidd, ond gwrol, o synwyr a gwybodaeth wladol a chrefyddol helaeth. Heb law cyhoeddi y gwaith uchod, efe a roddodd allan y llyfrau canlynol:—1. 'Lleferydd yr Asyn yn gwahardd ynfydrwydd y Prophwyd;' 2. 'Arweiniad i'r Anwybodus,' yr hwn oedd sillebydd, tebyg i'r *spelling books* Seisonig; 3. Crynodeb o'r unrhyw; 4. 'Ymddiddan rhwng Dr. Opium, Galio, a Discipulus,' yr hwn oedd gyfieithiad, mae yn debyg; 5. 'Grawn-Sypiau Canaan,' sef Pigion o Hymnau W. Williams, Pant y Celyn; a'r rhai a arferid am flynyddoedd ar bulpudau y Methodistiaid yn y Gogledd; ond a wrthodid ac a gondemnid yn fawr gan Fethodistiaid y Deheubarth, o blegid iddo gymmeryd rhyddid i gyfnewid rhai o honynt; 6. 'Drych yr Amseroedd,' sef hanes diwygiad crefyddol yng Ngogledd Cymru, o'r hwn y daeth allan ddau argraffiad.† Am

John Pierce, ymddengys mai genedigol ydoedd efe o ardal Bryn Engan [ym mhlwyf Dolbenmaen, yn Eifionydd], yn sir Gaernarfon; ac iddo deimlo ystyriaethau am bethau crefyddol yn ieuanc, a myned, fel llawer o'r cyfryw yn yr oes hòno, er mwyn manteision crefyddol,

* *Y Traethodydd*, iii. t. 398, nodyn; *Methodistiaeth Cymry*, cyf. ii. t. 142-3.

† *Cofiant R. Jones; Methodistiaeth Cymru*, cyf. ii. t. 186-191.

i ardal Llangeitho, yn sir Aberteifi, a chael ei dderbyn fel gwasanaethwr mewn rhyw deulu crefyddol yno. Yno dechreuodd bregethu. Gwnaeth ymdrech mawr i gyrhaedd gwybodaeth, a chyrhaeddodd radd ganmoladwy yn gwbl trwy ei hunan-lafur. Symmudodd wedi hyny i Fryn Engan, ac wedi hyny, trwy briodas, i Lanidloes. Yr oedd yn ddyn o dymmer drymaidd a phruddglwyfus. Bu farw Chwefror 1, 1793, yn 49 oed.*

22. 'A History of the Island of Anglesey, from its first Invasion by the Romans, until finally acceded to the Crown of England: together with a Description of the Towns, Harbours, Villages, and other Remarkable Places in it; and of several antiquities relating thereto never before made public. Serving as a Supplement to Rowlands's Mona Antiqua Restaurata. To which are also added Memoirs of Owen Glendowr: Who in the Reign of Henry IV. claimed the Principality of Wales, as Heir to Llewelin last Prince thereof. Translated from a M.S. in the Library of Jesus College, Oxford: To which are subjoined, Notices Historical and Illustrative. The whole collected from authentic Remains.

London; Printed for J. Dodsley, in Pall-Mall. MDCCLXXV.'†

Priodolir y gwaith hwn i'r Parch. Henry Owen, M.D., golygydd yr ail argraffiad o'r 'Mona Antiqua.' Y mae gwyneblen arall i—'Memoirs of Owen Glendowr: Being a well-compiled History of his Transactions during the whole War. Originally written by Mr. Thomas Ellis, Rector of Dolgelle, in Merionethshire; and now faithfully copied out of a Manuscript in the Library of Jesus College in Oxford. To which are added, Notes Historical and Descriptive, Collected by the Editor from Authentic Remains.'

23. 'Nodiadau ar Bregeth Mr. Abel Francis, yng Nghwm Wysg, gerllaw Trecastell: Y Trydydd Dydd ar Ddeg o Awst, 1732. Gan William Herbert. Wedi eu hail 'Sgrifenu a diwygio'r Iaith. Gan Josuah Thomas. At yr hyn y 'chwanegwyd Myfyrdod mewn Cystudd, ar Gân. Gan John Morgan, o Blwyf Bedwellty.

Aberhonddu: Argraphwyd dros John Morgan, gan E. Evans. Lle gellir cael argraphu pob math o lyfrau am bris rhesymol. 1775.'

Testyn y Bregeth oedd *Esec.* xviii. 32. Traddodwyd hi pan oedd y dadleuon Arminaidd yn aflonyddu y Bedyddwyr yn y Deheudir. Y pregethwr,

ABEL FRANCIS, ydoedd fab Francis Thomas Francis, yr hwn a fu weinidog enwog i'r Bedyddwyr yng Nghastell Newydd yn Emlyn, yn sir Gaerfyrddin. Yr oedd yn byw yng nghymmydogaeth Pen-

* *Drych yr Amseroedd*, ail arg. t. 175, 217; *Methodistiaeth Cymru*, cyf. i. t. 218; cyf. ii. t. 360; cyf. iii. t. 143.

† Gwel d.f. 3, 1723; rhif 9, d.f. 1743; a rhif 10, d.f. 1766.

careg [ger Llanbedr], yn y sir hòno. Dechreuodd bregethu gyda'r Bedyddwyr yn ieuanc. Yr oedd y dadleuon Arminaidd, fel eu gelwid, yn aflonyddu y Presbyteriaid a'r Bedyddwyr yn y dyddiau hyny. Yr oedd Mr. Jenkin Jones, gweinidog Presbyteraidd Llwyn Rhyd Owain, yn sir Aberteifi, wedi mabwysiadu ac yn pregethu yn hyf y tybiau hyny, a'r blaid arall newydd adgyhoeddi gwaith Eliseus Cole. Trodd Abel Francis hefyd yn bleidiwr cyhoeddus a gwresog i Mr. Jenkin Jones a'i dybiau. Gadawodd Mr. Francis y Bedyddwyr tua'r fl. 1735, neu '36, ac ymunodd â'r Presbyteriaid. Bu farw o gylch 1743.*

Yr ydys eisoes wedi rhoddi ychydig hanes am W. Herbert.† Mae diwygiwr y 'Nodiadau,' y diweddar Barch. J. Thomas, awdwr 'Hanes y Bedyddwyr,' yn dywedyd yn ei lythyr 'At y Darllenydd,' fel hyn :—

'Pan fu'm yng Nghymru yn ddiweddar,‡ dangoswyd i mi Gopi o'r Nodiadau canlynol, a dymunwyd arnaf eu 'Sgrifenu o newydd, gan farnu y byddai yn fuddiol eu hargraphu. Y maent yn fy meddiant i ys mwy nag ugain mlynedd, o waith llaw'r Awdwr ei hun, lle mae efe yn dywedyd na 'Sgrifenodd efe, erioed o'r blaen, gymmaint o Gymraeg; gan hynny yn cydnabod amherffeithrwydd yr yspeliad a'r iaith. Mi a ddewisais ei ysgrifenu o'i waith ef ei hun yn hytrach nag o un copi.§ Felly beiau'r iaith, eiddo fi ydynt, oddieithr fod gwallau yn yr Argraph. Am yr Athrawiaeth eiddo yr Awdwr ydyw. Ni ddarfu i mi newid na gwyro dim arni, ar a wn i.

'Y mae'r Pregethwr a'r Nodiadwr wedi myned i orphwys ys llawer blwyddyn. Nid eu hamcan hwy oedd i'w gwaith gael ei wneyd yn gyhoeddus, uwchlaw deng mlynedd ar hugain ar ol eu marwolaeth. Gan hyny, nid yw yn weddus yma na'u canmol na'u —— Ond er eu mwyn hwy, etto byw yw athrawiaeth y naill a'r llall. Yr wyf fi yn barnu fod y Nodiadau canlynol yn iachus, yn ddeallus, yn ysgruthurol, ac yn efengylaidd. Os gwel Duw yn dda eu bendithio, nid wyf yn ammau na byddant yn llesiol, yn gynnorthwyol, ac yn adeiladol i'r Darllenydd ystyriol.

*Llanllieni*, 15*fed o Ebrill*, 1775. JOSHUA THOMAS.'

24. 'The Head of the Rock, a Welsh Landskip. Being a Prospect near Abergwilly Palace, the Residence of the Bishop of St. David's, in the neighbourhood of Carmarthen. By William Williams of Pembrokeshire, late of St. John's College, Cambridge.

London: Printed for N. Conant, in Fleet St. MDCCLXXV.'

25. 'Amryw Hymnau Dymunol a Phrofiadol. O Waith Harri Sion, Gerllaw Pont y Pŵl, yn Sir Fynwy. At ba un y chwanegwyd

* *Hanes y Bedyddwyr*, gan J. Thomas, t. 378, &c.

† Gweler rhif 6, d.f. 1761.

‡ Yr oedd yn cartrefu yn Llanllieni.

§ Y mae yn debyg, felly, eu bod wedi eu lledaenu gryn lawer ar hyd y wlad, trwy eu hail ysgrifenu, y naill gopi o'r llall, cyn eu hargraffu.

Pigion o Hymnau, o Waith yr awdwyr hynottaf yn yr oes bresennol. Y Trydydd Argraffiad Gydâ Chwanegiadau.

Caerfyrddin, Argraffwyd dros y Cyhoeddwr gan J. Ross. M,DCC,LXXV.'

26. 'The Worthines of Wales, a Poem. A true note of the ancient Castles, Famous Monuments, goodly Rivers, fair Bridges, fine Townes, and Courteous People, that I have seen in the Countrie of Wales. And now set forth By Thomas Churchyard.

London, Reprinted from the Edition of 1587, for Thomas Evans, in the Strand, London. MDCCLXXV.'*

27. 'Hymnau a Chaniadau Ysprydol. Yn Dri Llyfr. I. Wedi ei gasglu o'r Ysgrythyrau. II. Wedi ei gyfansoddi ar Destunau dwyfol. III. Wedi ei barotoi i Fwrdd yr Arglwydd. Gan Isaac Watts, D.D. Ac a gyfieithwyd i'r Gymraeg gan Dafydd Jones, Cyfieithydd y Salmau.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Ross, yn Heol-y-prior. M,DCC,LXXV. [Pris swllt heb ei rwymo, a 13c. wedi ei rwymo.]'

28. 'Caniadau Newyddion: sef Carolau Plygain, a Cherddi na buont yn Argraphedig o'r blaen.

Argraphwyd yn y Mwythig, gan J. Eddowes, Gwerthwr Llyfrau, wrth y Ty-Marchnad. MDCCLXXV.'

Y mae iddo ychydig o linellau blaenddodol at yr 'Anwyl Gymro,' ac wedi ei arwyddo 'Joan Rhys. Cefncoch Chwefror, 20. 1775.' Y mae 'Joan Rhys' hefyd ar ddiwedd pob Cân neu Garol. Gallwn dybio mai llyfr lled fychan ydoedd, o blegid ni ddaeth un cyfan i'm llaw.

29. 'Amddiffyniad o'r Eglwys Grist'nogol yn Bedyddio Plant Bychain: ynghyd ag Amlygiad o'u Hawl Hwynt i Gyfammod a Duw ac i Fedydd. Yr Ail Argraffiad.

Caerfyrddin, Argraffwyd, gan Ioan Ross, yn Heol Awst, M,DCC,LXXV.'

30. 'Myfyrdodau ar Angau: neu Alarnad am Farwolaeth Anghyffredin, a ddigwyddodd mewn amryw Fannau o Gymru y Blynyddau hyn: Yn mha un y desgrifir Grym Teimlad, Cysuron Rheswm, a Buddugoliaeth Ffydd. Sef, Teimlad yn gweithredu Hiraeth Cariad, Llwfrdra a gwan Obaeth; Rheswm yn ceisio bodloni oddiwrth Angen fod Pethau fel y maent; a Ffydd hithau yn edrych dros y Cwbl, a thrwy ymddiried yn yr Arglwydd, yn ymgysuro ym mhob Cyflwr,

* Gwel rhif 3, d.f. 1587.

ac yn gwneud Cyfeillach o'r Byw a Marw. Gan William Williams.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan I. Ross yn Heol-Awst, lle y gellir cael, Pob Dyn ei Physigwr ei hun. Yr ail Argraffiad. M,DCC,LXXV.'

31. ¶ 'A View of Cader Idris. By R. Wilson. 1775.'

32. 'Mesurwr Cyffredinol, &c. Gan Mathew Williams, Philomath.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan Joan Ross, yn Heol-y-Prior. M,DCC,LXXV.'

'At y Ddarllenydd' o 'Langadock Rhag. 22. 1774.'

33. ¶ 'Account of Roman Antiquities in Monmouthshire. By John Strange. 1775.'

Llyfryn teneu o 48 tudalen 4plyg ydyw.

34. ¶ 'Observations of the more ancient Statutes of the Welsh and other Laws, from Magna Charta to the 21st James 1st, with an Appendix. By the Hon. Daines Barrington, Justice of the counties of Merioneth, Carnarvon, and Anglesey. 1775.'

35. ['Egwyddorion y Methodistiaid: wedi eu tynu allan (air yn air) o Erthyglau Eglwys Loegr, y rhai ydynt yn cynnwys athrawiaeth a ddylai pawb o aelodau'r Eglwys i gredu ac amddiffyn. II. Nodau i adnabod y Methodistiaid. III. Gweddi dros Aelodau Eglwys Loegr.

Oddiwrth bob Dallineb calon, gwared ni, Arglwydd daionus. Y Litani.

Argraphwyd yn y Mwythig yn y Flwyddyn, 1775.'

'Llyfryn 12 tudalen 12plyg ydyw. Nid ymddengys ei fod yn meddu awdurdod Cymmanfa.'*]

## 1776.

1. 'Histori yr Iesu Sanctaidd, yn cynnwys Hanes byrr o Enedigaeth, Bywyd, Marwolaeth, Adgyfodiad, ag Esgyniad ein Iachawdwr: Ynghyd a Chasgliad o Brophwydoliaethau, Rhagddywediadau, a Rhyfeddodau perthynasol iddo ef, a grybwyllir am danynt yn yr Ysgrythyr Lan, ac yn Ysgrifeniadau y Cenhedloedd. At yr hyn y chwanegwyd, Bucheddau a Marwolaeth yr Efengylwyr, &c. Gan William Smith, A.M. A gyfieithwyd i'r Iaith Gymraeg, allan o'r ail Argraphiad yn Saesonaeg, gan Ddafydd Ellis, Curat Derwen, swydd Ddinbych.

* *Llythyr* Mr. Morris Davies.

Trefryw, argraffwyd gan D. Jones. MDCCLXXV. Pris Swllt.' 200 tudalen 18plyg.

2. 'Casgliad o Bregethau, ar y Pynciau mwyaf sylweddol, mewn Perthynas i Fuchedd ag Ymarweddiad Cristianogion. Wedi eu cyfieithu o waith yr Awduron gorau yn saesoneg, Gan y Parchedig Evan Evans, Curad Towyn Meirionydd. At ba rai i chwanegwyd, Annerch i Benteulu, ynghylch y Ddyledswydd bwysfawr o Addoliad-Teuluaidd; a Ffurf Weddi i Deulu, o waith P. Doddridge, D.D. Y Llyfr I.

Argraphwyd yn y Mwythig, gan J. Eddowes. MDCCLXXVI.' [12plyg.]

Y mae rhagddalen i'r 'Y Llyfr II,' yn hollol yn yr un geiriau. Dyma y gwaith cyntaf erioed a gyhoeddwyd yn Gymraeg yn gyfrolau. Detholion ydynt o waith Doddridge, Watts, &c. Y mae yn nechreu 'Y Llyfr I.' lythyr Seisonaeg o gyflwyniad y Prydydd Hir, at Syr W. W. Wynn, yr hwn sy ddernyn cywrain iawn; ac nid yw ryfedd na chafodd yr awdwr godiad yn yr Eglwys, gan fel y mae yn cribo mawrion ac urddasolion Seisonig yr Eglwys Sefydledig yng Nghymru. Y mae yr un dull yn cael ei arferyd yn yr anerch 'At y Darllenydd' yn Gymraeg. Cynnwysa 'Y Llyfr I.' 16 o Bregethau; a 'Llyfr II.' 12 o Bregethau; yr 'Annerch i Benteulu;' 'Gweddiau;' 'Anghwanegiad,' sef dwy bennod o englynion, ac wrthynt 'Evan Evans, a'i Cânt;' a 'Rhybudd i'r Darllenydd,' yr hwn a gynnwys sylwadau rhagorol ar orgraff y Beibl Cymraeg.* Y mae enwau y tanysgrifwyr yn 371, yn cymmeryd 474 o gopïau.

3. 'Gardd y Caniadau; Neu Lyfr yn cynnwys ynddo Garolau a Cherddi ar amriw Destunau, diddan a difrifol. Gan Hugh Jones, o Faes-Glaseu; Awdwr y Myfyrdodau ar Dymhorau y Flwyddyn.†

Mwythig: Argraphwyd gan T. Wood, yn y flwyddyn 1776. [Pris 6d.]'

Y mae yn cynnwys 84 o dudalenau 12plyg.‡ Bu T. Wood yn argraffydd a golygydd y *Shrewsbury Chronicle* am 29 o flynyddau. Bu farw yn ddedwydd Ebrill, 1801, yn 55 oed.

4. 'Four curious Private Appeal Cases to the House of Lords relative to Llwynybrain Estates in Carmarthenshire, and valuable Lands in Cardiganshire, setting forth the Claims and Pedigrees of various members of the Hughes, Rice, Griffith, and Howarth families, with the decision of the Judges in MSS. 1776.'

Y mae yr uchod yn werthfawr i achyddion Cymreig, yn perthynu

* Gwel rhif 7, d.f. 1769.

† Gwel rhif 3, d.f. 1774.

‡ *Gwladgarwr*, Awst, 1830, t. 263.

i diroedd oddi amgylch Llanymddyfri, yn Neheudir Cymru. Argraffwyd yn anghyhoedd.

5. 'Lleferydd yr Asyn er gwahardd Ynfydrwydd y Prophwyd. Sef Copi o lythyr at wr urddasol, a anfonodd ei was i aflonyddu addoliad Crefyddol.

Aberhonddu, Argraphwyd gan E. Evans. 1776.'

Yr oedd hwn yn ail argraffiad.* Yr awdwr ydoedd Robert Jones, Rhoslan.† Y gwr urddasol, at ba un yr anfonwyd y llythyr, ydoedd rhyw un o foneddigion Eifionydd, ac ar y Rhoslan y cynnelid y cyfarfod. Atebwyd y llythyr, ond barnwyd yn well peidio â'i gyhoeddi.‡

6. 'Casgliad Byrr o'r Rhedegwr Ysprydol, a ysgrifenwyd gan awdwr Taith y Pererin.

Trefecca, Argraphwyd yn y flwyddyn 1776.'

Cyhoeddwyd argraffiad newydd o hwn yn nechreu y 19fed ganrif, gan un Mr. Hemingway yng Nghaerlleon, a than olygiad Mr. Thomas Roberts, o Fonwm, ger Corwen, a diweddar o Lanelwy.

7. 'Y Creadur Newydd ynghrefydd Crist: Gwedi ei osod allan mewn Pregeth. Gan William Beferidge, D.D. gynt Arglwydd Esgob Llanelwy.'

Trefecca: Argraphwyd yn y Flwyddyn M,DCC,LXXVI.

☞ Nid yw'r Llyfran hwn ar werth, ond rhodd ewyllysiwr da i grefydd i'w gydwladwyr.'

8. 'Dechreuad, Cynnydd, a Chyflwr presennol y Ddadl rhwng pobl America a'r Llywodraeth. Gan M. D. Gwedi ei gyfiaethu er budd i'r Cymru.

Trefryw. Argraphwyd gan Dafydd Jones, 1776. Pris 2 geiniog.'

9. 'Dyledswydd Dilys ac Anhepgor Crist'nogion, yr Amser enbydus hyn; wedi ei ystyried a'i gymmell mewn cyfarchiad gwresog. Gan W. Mason. Ynghyd â Rhagymadrodd o Ganmoliaeth, Gan y Parchedig Thomas Coke, L.L.D. South Petherton, yng Ngwlad yr Hâf.

Aberhonddu, Argraphwyd gan E. Evans, 1776. [Pris Dwy Geiniog, neu Ddeunaw y Dwsin.]'

* Gwel rhif 10, d.f. 1770.

† Gwel rhif 21, d.f. 1775.

‡ *Methodistiaeth Cymru*, cyf. ii. t. 150.

Y mae llythyr o gymmeradwyaeth yn ei ragflaenu, gan 'Thos. Coke, South Petherton, Gwlad yr Hâf, Chwefror 26, 1776;' am yr hwn, gan ei fod yn Gymro, y byddai yn briodol crybwyll yn helaethach. Gan hyny,

THOMAS COKE, LL.D., ydoedd fab i Bartholomew Coke, o Aberhonddu, lle y ganwyd ef Medi 9, 1747. Ei fam ydoedd Ann, merch Thomas Philips, Ysw., o'r Trosdref, ychydig i'r tu dwyreiniol i'r dref hòno.* Cafodd ei ddysgeidiaeth yn ysgol ramadegol neu goleg y dref hòno, ac yng Ngholeg Iesu, Rhydychain, lle y cymmerodd y radd o LL.D., yn 1775, pan yn 28 oed. Cafodd guradiaeth South Petherton, lle y bu dair blynedd, pan y daeth yn gefnogwr gwresog i athrawiaethau a threfn deithyddol Mr. Wesley. Yn 1782, efe a ddewiswyd y waith gyntaf yn llywydd Cynnadledd y Methodistiaid Wesleyaidd yn Iwerddon, yr hon swydd a lanwodd am tua 30 mlynedd. Yn 1784, gwnaeth ei fordaith gyntaf i Ogledd America, lle yr arosodd hyd 1785, yn arolygu cyfundeb y Methodistiaid Wesleyaidd, o dan yr enw o Esgob yr Eglwys Fethodistaidd; yng nghyd ag un arall—Francis Ashbury—a benodasid gan Mr. Wesley i'r swydd ar rym ei urdd fel offeiriad neu henuriad o'r Eglwys Sefydledig; a thrwy y cyssylltiad hwn, a'r drefn o arolygiaeth esgobawl dros y Cynnadleddau am eu hoes, y mae y cyfundeb Wesleyaidd yn yr Unol Daleithiau yn esgobawl, o dan yr enw 'Yr Eglwys Esgobawl Fethodistaidd.' Yn 1786, aeth y Dr. Coke i'r India Orllewinol, ac yna croesodd i Ogledd America. Gwnaeth yn y cwbl naw o fordeithiau i sefydlu ac arolygu cenadon. Yn 1800, efe a sefydlodd genadau Cymreig Wesleyaidd yng Nghymru. Yn 1801 efe a ddechreuodd ei Esboniad ar y Beibl, yr hwn a orphenodd yn 1807, mewn chwe' chyfrol.† Dechreuwyd cyhoeddi talfyriad o hono i'r Gymraeg yn 1804, trwy ganiatâd y Doctor. Y talfyrwyr oeddynt y Parchn. Owen Davies a John Hughes, awdwr yr 'Horæ Britannicae,' a'r cyfieithydd ydoedd y Thomas Roberts [rhif 6] a enwyd uchod, a'r hwn oedd yntau y pryd hyny yn weinidog Wesleyaidd; a'r argraffydd oedd Mr. Hemingway o Gaerlleon,‡ yr hwn a drodd yn fethdalwr yn ei fasnach, wedi ei ddyfod rywfodd i ddiwedd yr Hen Destament, yn ddwy gyfrol 4plyg. Wedi hyny penododd y Dr. Coke y Parch. John Hughes i'w gyfieithu, a'i argraffu yn Llundain gan un Paris, o dan olygiad Cymreig un Edward Williams, yr hwn oedd ar y pryd yn argraffu yn Llundain mewn rhyw swyddfa Seisonig. Hyd ddiwedd yr Efengylau y cyfieithodd Mr. Hughes, a chwech rhifyn yn unig a ddygwyd allan gan Mr. Paris. Wedi hyny penodwyd y Parch. David Davies, mab y diweddar Barch. David Davies, Castell Hywel, sir Aberteifi, yn gyfieithydd, a Mr. John Daniel, Caerfyrddin, yn argraffydd; ac felly y daeth allan yn rhywfodd, yn dair cyfrol 4plyg.§

* Rhed achau y Dr. Coke fel hyn:—Thomas Coke, mab Bartholomew Coke, M.D., yr hwn oedd y cyntaf i sillebu ei enw yn *Coke*, mab Edward *Cooke*, person Llanfrynach, ger Aberhonddu, mab Henry Cooke, o Wern Chwith, yn sir Faesyfed.—Jones's *History of Breconshire*.

† *Eurgrawn Wesleyaidd*, 1817; Williams's *Eminent Welshmen*.

‡ *Eurgrawn Wesleyaidd*, 1848, t. 355.

§ *Eurgrawn Wesleyaidd*, 1849, t. 164, 165, 194.

Cyhoedodd 'A Sermon upon Education, preached at the Anniversary of a Public School at Crewkern, Somerset,' 1773; 'Address to the Inhabitants of Bristol and the adjacent Villages,' 1782; 'Ordination Sermon, preached at Baltimore,' 1784; 'A Sermon on the Divinity of Christ, preached at Baltimore,' yr hon a gyhoeddwyd amryw weithiau yn Lloegr, a chyfieithiad o honi a gyhoeddwyd yn Gymraeg; 'A Discourse on the Witness of the Holy Spirit;' 'Three Funeral Sermons on the death of Mr. Wesley;' un 'For the Rev. Mr. Richardson;' ac un arall, 'In Memory of Mrs. Hester Ann Rogers;' 'Four Sermons on the Christian Ministry,' 1798; 'A Discourse on 7th Chapter of the Epistle to the Hebrews;' golygodd, gyda Mr. Ashbury, y 'Book of Discipline for the American Methodist Episcopal Church;' 'An Address to the Societies in England on the Settlement of Chapels,' 1795; 'A Statement on the vexed case of Dewsbury Chapel in Yorkshire,' &c.; 'Series of Letters addressed to the Societies against the Rev. Melville Horme,' 1810; 'Life of Wesley,' yn gyssylltiol â Henry Moore. Golygodd ail argraffiad diwygiedig o farddoniaeth arwraidd y Parch. S. Wesley ar 'Life of Christ;' 'History of the West Indies,' yn dair cyfrol, 1808, &c. Dechreuodd weithiau ereill; ac yn wir dechreuodd argraffu y 'Cottager's Bible;' ond rhoddwyd ef i fyny o eisieu amser a chefnogaeth. Cyhoeddodd fynegiadau cyfnodol o amgylchiadau y genadaeth oedd dan ei ofal yn yr India. Ei Attodiad i'w Esboniad a gyhoeddodd hefyd yn gyfrol ar ei phen ei hun, o dan yr enw 'The Recent Occurrences of Europe considered in Relation to such Prophecies as are now fulfilling, or remain yet to be fulfilled.'* Bu farw y Dr. Coke ar y môr, ar ei nawfed fordaith genadol, yr hon oedd i'r India Ddwyreiniol, Mai 2, 1814, yn 67 oed.†

10. ¶ 'Rhodd Meistr i'w Brentis, &c. Wedi ei osod allan ar ddymuniad y cywrain a'r dysgedig Mr. Lewis Morris.

Argraffwyd yn y Bala, gan John Rowlands, tros William Davies.'

11. 'Pregeth yn erbyn Enllib a phob Gogan-air. Gan Josiah Rees.

Caerfyrddin, Argraphwyd dros yr awdwr gan J. Ross. 1776. [Pris Ceiniog.]'

12. 'Rhannau Detholedig, o'r Salmau Cân, gyd â'r Ystyr o honynt o flaen pob Salm. Wedi eu cymmwyso i'w canu mewn Eglwysydd. Gan y Parch. Hugh Williams, M.A. Person Aberffraw. Y Salmau Gweddiau a ddylid eu canu ar y Peroriaethau Lleddfon; a'r Salmau Mawl ar y Peroriaethau Crason.

Printiedig gan Peter Hoey, tan lûn Mercury, yn Skinner-row, ac ar werth gan Mr. Richard Williams, yng Nghaernarfon. 1776.'‡

* Dr. Etherige's *Life of Dr. Coke.*

† *Life of Dr. Coke*, by S. Drew; Williams's *Eminent Welshmen.* [Am yr Awdwr, y Parch. William Mason, gweler rhif 26, d.f. 1759.]

‡ Gwel rhif 13, d.f. 1773.

13. 'Drych Olwg ar Dir Angof; neu Farwnad y Pendefig Mr. Philip Williams, Mab y Pendefig Mr. John Williams, o Ben-arth, yn Sir Forganwg; yr hwn a ymadawodd â'r Byd hwn, Awst 16 dydd, yn 17 oed, yn y flwyddyn 1775, &c. Gan Dafydd Williams, o Sir Forganwg.

Aberhonddu, Argraphwyd dros yr awdwr, gan E. Evans. MDCCLXXVI.'

14. 'Ffarwel Babel, Groesaw Ganaan; neu Ychydig o Hymnau o Fawl i Dduw a'r Oen, ac o Ddifyrwch i Bererinion Seion, ar eu Siwrneu tuag yno. Gan Rhys Dafydd.

Aberhonddu, Argraphwyd dros yr Awdwr, gan E. Evans. M,DCC,LXXVI.'

Rhys Dafydd (=Rees David) oedd bregethwr ieuanc a gyfododd gyda'r Bedyddwyr ym Mhenyfai, yn sir Forganwg. Aeth i Athrofa Bristol yn 1772, ac yn 1775 aeth i wasanaethu cynnulleidfa yn Lower Ormond, yn Iwerddon. Yn 1776 dychwelodd i Gymru; wedi hyny bu yn gwasanaethu cynnulleidfaoedd yn Ffalmouth, ac yn Chacewater, yng Nghernyw, ac yn fl. 1777, efe a ymsefydlodd yn Norwich, yn sir Norffolc, lle y bu farw yn 1788.*

15. ¶ 'Taith y Pererin, y Bummed Ran; neu ychydig Hymnau, o waith Thomas Dafydd, yn Sir Gaerfyrddin.'

16. ¶ 'Y Frwydr Ysprydol, mewn Casgliad o Hymnau Newydd, ar amryw Fesurau. Gan Morgan Rhys, a Thomas Dafydd.

Nid oes amseriad, gwyneblen, nac enw lle ac argraffydd i'r ddau uchod.

[Nis gall fod nemawr o ammheuaeth nad yr un yw hwn â rhif 34, d.f. 1774. Nid oes un amseriad wrtho; ond yr wyf o'r farn iddo ymddangos mor gynnar a'r fl. 1770.]

17. 'Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, yn y flwyddyn 1776.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Ross. MDCCLXXVI.'

18. 'Hanes Tair Sir ar Ddeg Cymru. Yn cynnwys yspysiad helaeth pa fath ydynt, a pha bethau goreu sy ymhob un o honynt, a pha fath bobl sy'n gwladychu ynddynt, a pheth yw Hyswiaeth benaf Merched ym mhob Sir; pa yd a enllyn sy amla a gorau ymhob un o honynt, a pha le mae'r Ceffyleu, Gwartheg, Defaid, Brethynoedd, Gweoedd, Gwlaneni, y Llieiniau goreu yng Nghymru, &c. At yr hyn y chwanegwyd Tair o Gerddi Dwyfol, a Rhifedi Plwyfydd pob Sir uwch eu Pennau.

* *Hanes y Bedyddwyr*, gan J. Thomas, t. 313; *Hanes y Bedyddwyr*, gan D. Jones, t. 555.

Argraphwyd yng Ngwrecsam gan R. Marsh, Gwerthwr Llyfrau.'

Barddoniaeth ydyw, ac yn ei ddiwedd y mae 'Dafydd Thomas ai Cant.' Ymddengys mai wrth yr ail argraffiad hwn y rhoddwyd yr enw fel yna yn llawn, gan nad oes ond 'D. T.' wrtho yn yr argraffiad cyntaf.*

19. 'Britannica Antiqua Illustrata: or, The Antiquities of Ancient Britain derived from the Phenicians, by Aylett Sammes of Christ Colledge, Cambridge. 1776.'

[Y mae yn bur ddilys genyf mai argraffiad 1676—can mlynedd gyfan yn ol —yw yr argraffiad sydd yn cael ei gofrestru yma.]

20. 'The Worthiness of Wales, a Poem. A true note of the Auncient castles, famous monuments, goodly rivers, fair bridges, fine townes, and courteous people, that I have seen in the noble countrie of Wales, and now set forth by Thomas Churchyard.

London. 1776.' 8vo.

Ymddengys y daeth galwad am argraffiad arall o hwn yn fuan ar ol y llall, yn gwneyd y trydydd argraffiad.†

21. 'Pregeth yn erbyn Enllib a phob Gogan-air. Gan Josiah Rees.

Caerfyrddin, Argraffwyd dros yr awdwr gan J. Ross. MDCCLXXVI. [Pris Tair Ceiniog.]'

Yr oedd hwn yn ail argraffiad, un yn nechreu y flwyddyn, yr hwn werthwyd yn fuan, a'r llall cyn diwedd y flwyddyn.‡

22. 'Marwnad Dafydd John, o Bwll-y-March. Yr hwn a ymadawodd â'r Byd Ebrill, 1776. Ac hefyd, Marwnad John Dafydd, o Benhenrhyw, ym Mhlwyf Llanwnio, Yr hwn a ymadawodd â'r Byd Mai 1776. Gan William Williams.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan Joan Ross.'

23. 'Marwnad Mr. Evan Williams o Faesgenffordd, yn agos i'r Garth, yn Sir Frecheiniog: Wr onest, cymmwynasgar, a duwiol, ac a foddodd yn yr Afon Gwy, yr 11 o Fedi, 1776; o ddeutu canol oed: ac a adawodd ar ei ol Wraig, a Mamynghyfraith hiraethlon; roesawgar, hefyd a ffyddlon i holl Eglwys Dduw. At ba un y chwanegwyd Hymn, ar Dôn newydd, A gymmerwyd o Synagog yr Iuddewon: Yr Hymn a genir arni yn Saesoneg sy'n dechreu fel hyn, "The God of Abr'am praise, &c." Gan William Williams.

* Gwel rhif 6, d.f. 1750.

† Gwel rhif 3, d.f. 1587; rhif 26, d.f. 1775; a hwn yma.

‡ Gwel rhif 11 uchod.

Aberhonddu, Argraphwyd, dros yr Awdwr, gan E. Evans, &c. MDCCLXXVI.'

Awdwr yr Hymn ydoedd

THOMAS OLIFER neu OLIVER, yr hwn a anwyd ym mhlwyf Tregynon, yn sir Drefaldwyn, yn 1725. Efe a ymunodd â Mr. Wesley yn ieuanc. Yn 1753 efe a benodwyd i'r gwaith teithiol, neu y weinidogaeth, a bu yn llafurio lawer o flynyddoedd yn Lloegr, Ysgotland, a'r Iwerddon. Wedi hyny sefydlwyd ef yn Llundain, fel golygydd y wasg. Cyhoeddodd luaws o draethodau, y rhan fwyaf o natur ddadleuol, un o ba rai sydd wedi ei gyhoeddi yn Gymraeg, sef 'Cyflawn Wrthbrawf i'r Athrawiaeth o Barhad Diammodol mewn Gras.' Bu farw yn Llundain yn 1799, yn 74 oed.*

24. 'Canwyll y Cymry; sef Gwaith y Parchedig Mr. Rees Prichard, M.A. Gynt Ficer Llanymddyfri. The Welshman's Candle: or the Works of the Reverend Mr. Rees Prichard, M.A. Sometime Vicar of Llandovery.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan Joan Ross, yn Heol-y-Prior. MDCCLXXLVI.'

Dyma y degfed argraffiad i'w gofrestru, er y rhaid ei fod yr 16fed, o leiaf.†

25. 'Bugeilgerdd. Yr ail yn yr Iaith Gymraeg. Gan Edward Richard.

Argraphwyd yn y Mwythig gan J. Orm. MDCCLXXVI.'

Yr oedd hwn yn ail argraffiad, tybygid, neu yr argraffiad cyntaf o'r ail gerdd.‡

26. 'The Lands of Reynoldstone, Private Appeals of Several Members of the Phillips, Allen, and Hancorn Families, concerning a Mortgage on this Estate, with the decree of the Ho. of Lords. 1776.'

Argraffwyd yr uchod yn gyfrinachol.

27. [' Addysg ynghylch Bedydd-Esgob.

Llundain: A argraphwyd i J. Rivington, Gwerthwr Llyfrau i'r Gymdeithais er cynhyrchu Gwybodaeth Cristianogol, ym Monwent St Paul, N 62. MDLXXVI.'

Traith 12plyg o 16 tudalen ydyw.]

* *Eurgrawn Wesleyaidd*, 1811, t. 3-9, 37, 74-89, 109-114; Williams's *Eminent Welshmen*.

† Gwel rhif 1, d.f. 1646; rhif 2, d.f. 1670; rhif 6, d.f. 1672; rhif 1, d.f. 1681; rhif 12, d.f. 1741; rhif 1, d.f. 1721; rhif 25, d.f. 1725; rhif 19, d.f. 1766; rhif 16, d.f. 1770; a hwn yma.

‡ Gwel rhif 10, d.f. 1765.

## 1777.

1. 'Myfyrdod ar Ddamhegion, a Gwyrthiau ein Harglwydd Iesu Grist, &c. Gan Mr. Hugh Jones, o Faesglasau, yn agos i Ddinas Mawddwy.

Mwythig, Llythyrwyd gan T. Wood, yn y flwyddyn 1777. [Pris 6d.]' 84 tudalen 8plyg.

2. 'Goruchafiaeth a Llawenydd y Gwir Gristion, gan Thos. Williams.

Argraffwyd yn Nhrefriw.'

3. 'Y Gyssylldiad rhwng Ffydd achubol a Gweithredoedd da, mewn Pregeth ar Titus iii. 8, Gan y Parch. John Hallward, A.M. Ficar Shawbury, yn Sir y Mwythig, &c.

Mwythig Argraphwyd.'

4. 'Duw-dod Iesu Grist, Neu Atteb i'r Gofyniad a welir yn Matt. xvi. 13, 14, 15. a gynnwysir mewn Pregeth ar y geiriau hynny. O waith y Parchedig Evan Hughes, Curate Llanfihangel y Pennant, yn Sîr Gaernarfon.

Argraphwyd yn Ngwrecsam, gan R. Marsh Gwerthwr Llyfrau; Lle yr argrephir pob math o Lyfrau &c. yn y môdd mwya' hardd a buan, ac am y Prîs issa. 1777.' [16plyg: 32 tudalen.]

[Yn canlyn y Bregeth y mae 'Hymn gyfattebol i'r Athrawieth a gynnwysir yn y Text, yn dangos allan Dduw-dod, Mawrhydi a Gogoniant ein Harglwydd a'n Iachawdwr Iesu Grist.' Cynnwys y llyfryn 32 tudalen 16plyg.]

Gwr o Ddeheubarth oedd Mr. Hughes. Yr oedd yn ddyn o faintioli corfforol mwy na'r cyffredin, ac am hyny adnabyddid ef wrth yr enw *Hughes Fawr*. Yr oedd yn rhagori llawer yn ei ddawn ar weinidogion yr Eglwys yng Ngwynedd y pryd hyny. Ymddengys fod llawer o Fethodistiaeth Llangeitho yn ei ysbryd. Pan oedd Mr. John Edwards, gynt o Blas yng Nghaerwys, awdwr 'Y Cyfarwyddyd Profedig,' mewn trallod crefyddol, aeth at Mr. Hughes, i ofyn iddo beth a wnai, efe a'i hannogodd i ymuno â'r Methodistiaid.* Yr oedd un o ysgolion Mr. G. Jones, Llanddowror yn ei blwyf, pan oedd yn Llanfihangel, yn cael ei chynnal gan un Mary Gough, i'r hon y mae yn rhoi cymmeriad da fel ysgolfeistres, ac yn dymuno am barhâd o'r ysgol, mewn llythyr at Mr. Jones, amseredig Medi 27, 1773.

5. ¶ 'Ystyriaethau ynghylch Diwedd Amser, neu'r Dychrynadwy arwyddion, a rhyfeddodau a fydd yn y dydd diweddaf, &c. Gan Hugh Jones, Llangwm.

Bala, argraffwyd tros Wm. Davies.

* *Goleuad Cymru*, 1826, 409.

6. 'Temphum Experientiæ Apertum; Neu Ddrws Society Profiad, wedi ei agor o led y pen, fel y gallo y sawl a chwennych edrych i mewn: Mewn saith Dialog, ar ddull o ymddiddan rhwng Theophilus ac Eusebius. Gan Wm. Williams.

Aberhonddu, Argraphwyd dros yr Awdwr gan E. Evans. 1777.'

7. 'Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, yn y Flwyddyn 1777.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Ross, yn Heol-y-Prior. MDCCLXXVII.'

8. 'Llythyr o annerch at Ieuengctyd Cymru, i geisio'r Arglwydd tra gellir ei gael ef, yn awr ym mlodeu eu Dyddiau. Lle yn fyr y dangosir, Yn Gyntaf, Am fawr drueni y Bobl ieuaingc hynny sy'n cael eu gadael heb eu dal yn rhwyd yr Efengyl yn y dyddiau diweddaf hyn. Yn Ail, Breintiau'r Bobl ieuaingc y rhai y mae yr Arglwydd ein Duw ni yn eu galw atto, gan eu gosod yn ei winllan ym moreu-ddydd eu ieuengtyd. Gan Ioan Tomas: Gweinidog yr Efengyl.

Trefecca: Argraphwyd yn Flwyddyn 1777. (Pris 6*d.*)' [12plyg.]

9. 'Y Psalter, neu Psalmau Dafydd, yn Gymraeg, gyda'r Catechism, &c.

Argraffwyd yn Ngwrecsam, gan R. Marsh.'

10. ¶ 'Drych y dyn Maleisus, neu Bregeth yn dangos yspryd chwerw ffyrnig y dyn maleisus yn y byd hwn, &c. Gan T. Evans, Vicar Llangamarch.

Mwythig.'*

11. 'Chwech ar Hugain o Lythyrau ar Destynau Crefyddol. Gan Omicron. Wedi newydd ei gyfieithu o'r Saesonaeg i'r Cymraeg, er Budd i'r Cymry. Gan William Davies. At ba un y chwanegwyd ychydig Hymnau ar amryw fesurau, i'w canu yn gyhoeddus.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Ross, yn Heol-y-Prior. MDCCLXXVII.' 208 tudalen 12plyg.

[OMICRON, awdwr y Llythyrau hyn, ydoedd y Parchedig JOHN NEWTON, o Olney, cyfaill mynwesol y bardd Cowper. Ganwyd ef yn Llundain yn 1725; urddwyd ef ar guradiaeth Olney, yn swydd Buckingham, yn 1764; a bu farw yn rheithor St. Mair Woolnoth, yn Llundain, yn 1807. Pan yn gwasanaethu Olney daeth yn gydnabyddus â'r bardd a nodwyd, a chyhoeddasant rhyngddynt yr Emynau a elwir yr 'Olney Hymns.' Ym mhlith ei gyfansoddiadau ereill gellir nodi :—'Review of Ecclesiastical History;' 'Cardiphonia;' 'The Messïah,' a.r.c.]

* [Gwel rhif 9, d.f. 1747.]

12. 'Casgliad o'r Galwad i'r Annychweledig. Esaia 45. 22. Trowch eich wynebau attaf fi, holl gyrau'r ddaear, fel y'ch achuber:—canys myfi wyf Dduw, ac nid neb arall. Ezeciel 18. 21, 22. Os yr annuwiol a ddychwel oddi wrth ei holl bechodau y rhai a wnaeth,—efe gan fyw a fydd byw,—Ni chofir iddo yr holl gamweddau a wnaeth.

Eutftccy: Argraphwyd yn y Flwyddyn, M,DCC,LXXVII.

☞ Nid yw y Llyfran hwn ar werth, ond rhodd Ewyllysiwr da i Grefydd i'w gyd-wladwyr.'

Yr oedd hwn yn drydydd waith o gyhoeddiad y 'Galwad,' &c., gan R. Beston.*

[Ai *Trefecca* a olygir wrth y llythyrenau cyfriniol *Eutftccy?*] Nid oes un argraffeb ar y diwedd, na rhagymadrodd ar y dechreu; ond dechreua y llyfryn (yr hwn a gynnwys 36 tudalen 12plyg) ar gefn dalen yr enw.]

13. 'Ymadroddion Bucheddol ynghylch Marwolaeth. O Waith Doctor Sherlock. A gyfieithwyd i'r Gymraeg gan Thomas Williams, A.M. Yr ail Argraphiad, Wedi ei ddiwygio o amryw Feiau, a cham-yspeliadau oedd yn yr Argraphiad cyntaf.

Aberhonddu, Argraphwyd tros J. Evans, gan E. Evans: Lle gellir cael argraphu pob math o Gopiau ar Bapur a Llythyren newydd. 1777.' [12plyg.]

14. 'Llyfr Gweddi Gyffredin.

Argraphwyd yn y Mwythig, gan S. Prys.' 12plyg.

15. 'British Remains; or A Collection of Antiquities relating to the Britons: Comprehending, I. A Concise History of the Lords Marchers; their Origin, Power, and Conquests in Wales. II. The Arms of the Ancient Nobility and Gentry of North Wales. III. A Letter of Dr. Lloyd, Bishop of St. Asaph's concerning Jephrey of Monmouth's History. IV. An Account of the Discovery of America, by the Welsh, more than 300 years before the Voyage of Columbus. V. A Celebrated Poem of Taliesin, translated into Sapphic verse. The whole selected from original MSS. and other authentic Records. To which are also added, Memoirs of Edward Llwyd, Antiquary. Transcribed from a Manuscript in the Museum, Oxford. By the Rev. N. Owen, Jun. A.M. Sparsa Coegi.

London, Printed for J. Bew, in Pater-Noster-Row. 1777.' [8vo.]

NICHOLAS OWEN, ieuangaf, ydoedd fab i'r Parchedig Nicholas Owen, person Llandyfrydog, yn sir Fon. Cafodd fywoliaeth Bottwnog a Mellteyrn, yn Lleyn, sir Gaernarfon, tua'r fl. 1799, a bu yn

* Gwel rhif 2, d.f. 1677; rhif 1, d.f. 1751; a hwn yma.

ei dal hyd ei farwolaeth, yn 1812, yn o ddeutu 65 oed. Yr oedd yn byw ym Mangor, yn ammhriod, ac yn talu ymweliad achlysurol i'w blwyfau, gan gadw curad. Cynnwysa y llyfr hanes am ddarganfyddiad America, gan y Madogiaid; llythyr 'Morgan Jones, the son of John Jones of Bassaleg, near Newport, in Monmouthshire,' amseredig yn '*New York*, March 10, 1685-6;' llythyr Charles Lloyd, Dolobran, at ei gefnder, amseredig '8 M. 14 Day ¼,' yn ol dull y Crynwyr, un o ba rai oedd C. Lloyd; ac hefyd 'Copy of Dr. Plott's Account of an ancient Discovery of America, from Wales.' Y mae hefyd ynddo farddoniaeth Taliesin, gan y Parch. David Jones, 'Vicar of Llanfair Dyffryn Clwyd, in Denbighshire. A.D. 1580.'

16. 'Cydymmaith yr Allor. Cyfieithedig gan L. E.

Mwythig. Argraffwyd gan Stafford Prys.'

Yr oedd hwn yn bummed argraffiad.*

17. 'The British Language in its Lustre, Or a Copious Dictionary of Welsh and English. Containing many more British Words than are in Dr. Davies's Antiqua Linquæ Britannicæ Dictionaryum Duplex. First, Explaining the hard British Words, by more familiar Words in the same tongue, very useful for all such as do desire to understand what they read in that Language. Secondly, Shewing the proper English to every British Word, and consequently The true Way of Spelling all Words in both Languages. Amplified With the Geographical Names of Countries, Counties, Cities, Towns and places in Great Britain, (and some beyond Sea) in Ancient British and Present English. Whereunto are added, Plain and easy Directions to Welshmen, for the true Pronouncing of the English Tongue, by a Short Introduction in the British Language. With the Proper Use or Signification of all Accents, Points, or Stops, as now used in the British and English; being Necessary to be understood by every Reader. Compiled by the Great Pains and Industry of Thomas Jones.

Shrewsbury: Printed by Stafford Prys, Bookseller, in the Year 1777.'

Y mae hwn yn ail argraffiad.† Y mae iddo wyneb-ddalen Gymraeg, yr hon sydd yn gyfargraff o un yr argraffiad cyntaf, gydag ychydig o wahaniaeth dibwys, gan mwyaf yn waethygiad, lle y dylasai fod yn wellâd, agos i gan mlynedd ar ol yr argraffiad arall. Yr ydys wedi cael llawer esiampl o lyfrau yn cael eu gwaethygu trwy argraffiadau diweddar, rhagor eu hen argraffiadau boreuaf.

* Gwel rhif 3, d.f. 1715; rhif 4, d.f. 1752; rhif 11, d.f. 1762; rhif 5, d.f. 1770; a hwn yma.

† Gwel rhif 3, d.f. 1688. [Yn hytrach, *trydydd* argraffiad; yr ail yw rhif 1, d.f. 1760.]

18. 'Trial of the Bishop of Bangor for a Riot, &c. Before Mr. Justice Heath at the Assizes at Shrewsbury, July, 1777.' 8vo.

Yr Esgob More oedd y troseddwr hwn.

19. 'Pregeth ynghylch Rhodio gyda Duw. O Waith y Parchedig Mr. George Whitfield, A.B. Yr Ail Argraffiad.* At yr hyn y chwanegwyd ychydig o Hymnau gan Nathaniel Williams, o Lanwinio.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Ross. 1777.'

20. ¶ 'Prysur wahoddiad mewn Crist'nogol Gariad, at bawb i droi at Yspryd Crist ynddynt eu hunain; fel ag y delont i iawn ddeall Pethau Duw, a chael eu nerthu i'w wasanaeth ef yn gymmeradwy, &c. Gan Benjamin Holmes.

Caerfyrddin, argraphwyd, dros y cyfieithydd gan J. Daniel, yn Heol-y-farchnad isaf.'

Y mae enw 'Job Thomas,' wrth ei 'Ragymadrodd,' fel cyfieithydd, yr hwn oedd Grynwr, o Langadog, sir Gaerfyrddin. Y mae yn ail argraffiad ac yn ail gyfieithiad.†

21. 'Welch Piety: or, a further Account of the Circulating Welch Charity Schools, from Michaelmas, 1776, to Michaelmas, 1777.'

Rhoddwyd 100 o'r uchod yn anrheg i lyfrfa y 'Gymdeithas er Lledaenu Gwybodaeth Gristionogol,' gan Mrs. Bevan, o Lacharn.

22. ¶ 'Gwin i'r Diffygiol, o'r Winwydden oreu. Neu ychydig Hymnau wedi eu cymeryd allan o'r Ysgrythyrau Sanctaidd, er diddanwch i'r pererinion ar eu taith tua Mynydd Sion. Gan Dafydd William.

Caerfyrddin, argraffwyd gan Ioan Daniel.'

[Yn y wedd ganlynol y saif yr enw yn fy adysgrif i :—'Gwin i'r Diffygiol, o'r Winwydden Orau : Neu, Ychydig o Hymnau, wedi eu cymmeryd allan o'r Ysgrythurau Sanctaidd, er Diddanwch i'r Pererinion ar eu Taith tu a Mynydd Sion. Gan Dafydd Wiliam. Caerfyrddin, argraffwyd tros yr Awdwr, gan John Daniel, yn Heol y Brenin, lle y gellir cael ar Werth (pris 3c.) Hymnau a Chaniadau Efangylaidd : o Waith John Sanders, o Blwyf Penbre yn Sir Gaerfyrddin.' Llyfryn o 12 tudalen 16plyg, heb ddyddiad, ydyw. Ymddengys ei fod wedi ei gynamseru o gylch deng mlynedd ; canys gwelir ei gyhoeddi *ar ol* Hymnau a Chaniadau John Sanders, ac nid ymddangosodd y cyfryw dan y fl. 1786.]

23. 'Marwnad o Goffadwriaeth am Farwolaeth Mr. David Jones o'r Hafod, gynt o Gayo ; Cyfieithydd Salmau a Hymnau Dr. Watts. Yr hwn a ymadawodd o'r byd hwn y 30 o Awst, yn y flwyddyn o oedran ein Harglwydd 1777. Gan J. T. Gweinidog yr Efengyl.'

* Gwel rhif 14, d.f. 1752.

† Gwel rhif 2, d.f. 1746.

Y J. T. hwn ydoedd y Parch. John Thomas, gynt o Raiadr Gwy a'r Cae Bach, yn sir Faesyfed.

24. 'Marwnad y Parchedig Mr. Miles Harries, o Drosnant, gerllaw Pont-y-pwl, yn Sîr Fynwy. Yr hwn a orphenodd ei Yrfa y cyntaf o fis Tachwedd, yn y Flwyddyn 1776, yn y 76 o'i Oedran. Gan David Jones.

Caerfyrddin, argraffwyd gan J. Ross, 1777.'

25. 'Ductor Nuptiarum: neu Gyfarwyddwr Priodas. Mewn dull o ymddiddan rhwng Martha Pseudogam, a Mary Eugamus, ill dwyoedd ar y cyntaf yn proffesu duwioldeb, ond y naill wedi gwrthgilio, yn priodi yn ol y Cnawd; a'r llall yn dal at Rym Duwioldeb, yn priodi yn Ofn yr Arglwydd. Yn dri ymddiddan, &c. Gan W. Williams.

Aberhonddu, Argraphwyd dros yr Awdwr, gan E. Evans; lle gellir cael argraphu pob math o Gopiau ar Bapur da a Llythyren newydd. 1777.'

26. 'Traethawd ar Fywyd Ffydd, gan W. Romaine, Periglor y Fonachlogddu (Black-fryars), a Lecturer St. Dunstan, yn Llundain. A Gyfieithwyd gan Ioan Tomas, trwy ganiatad yr Awdwr.

Liverpool: argraphwyd yn Heol y Morfa, M,DCC,LXXVII.'

William Romaine a anwyd yn Hartlepool, Durham, yn 1714. Cafodd ei ddysgeidiaeth yng Ngholegau Hertfford ac Eglwys Crist, yn Rhydychain. Bu yn llafurio beth amser yn Bootle, Cumberland. Yn 1748, cafodd ddarlithwriaeth St. Botolph, Llundain; a'r flwyddyn ganlynol, gwnaed ef yn ddarlithydd St. Dunstan-in-the-West; ac yn 1750, penodwyd ef yn bregethwr yn St. George, Hanover Square. Yn fuan wedi hyny dewiswyd ef yn Broffesor Seryddiaeth Gresham. Cafodd, yn 1764, fywoliaeth St. Ann, Blackfriars, lle, gyda St. Dunstan, a wasanaethwyd ganddo hyd ei farwolaeth. Y gwaith uchod yw un o'i brif weithiau. Yr oedd yn nodedig o boblogaidd fel pregethwr, ac yn gefnogydd gwresog i Mr. Whitfield a'r Methodistiaid, heb droi allan o'r Eglwys. Ato ef yr elai Methodistiaid Calfinaidd yr oes hòno i gymmuno. Bu farw yn 1795, yn 81 oed.*

27. Samson's Hair, An Eminent Representation of the Church of God: in two parts. To which is added, two Sermons: First Shewing, The Evil Nature, and Hurtfull Effects of Unbelief. Second, of God's Subduing and Keeping under the Strong Corruptions of his People: And Healing them. By Edmund Jones: Minister of the Gospel.

Trevecka: Printed in the Year M,DCC,LXXVII.'

* Maunder's *Biographical Treasury.*

28. ¶ 'Ymddiddan rhwng Siopwraig a gwraig yr Hwsmon. Gan Thomas Edwards.* 1777.'

29. ¶ 'Diferion o Ffynnon Iachawdwriaeth Hymnau gan Dafydd Williams.'†

30. 'Gorfoledd ym Mebyll Seion. Ail Ran. Neu ychydig o Hymnau Efengylaidd, Wedi eu cymmeryd allan o amryw Destynau o'r Ysgrythyrau Sanctaidd. Wedi eu hamcanu i'r Diben o ddiddanu'r gwan Feddwl, y sydd ar ei Daith tua'r Jerusalem Newydd, Gwir Noddfa'r Gwaredigion, &c. Gan Dafydd Wiliam, gynt o Landeilo Tal y Bont, yn Sir Forganwg, yn y 59 o'i oedran, a thri Mis.

Caerfyrddin, Argraffwyd tros yr Awdwr gan J. Ross, yn Heol y Prior; ac ar werth gan Thomas Maurice. 1777. [Pris Dwy Geiniog.]'

Darfu i'r awdwr wneyd cyfansoddiad neu gyfieithiad Seisonaeg o'r uchod.

31. 'Casgliad o Hymnau neu Crist yn Noddfa y Crediniol yn amser trallod.

Caerfyrddin, Argraffwyd tros Thomas Dafydd, gan J. Ross, ger llaw yr Eglwys. 1777.'

Y mae yn gyssylltiol â hwn yr hysbysiad canlynol:—

'Daliwch Sylw, Ar Dydd Sadwrn, yr 8fed o Fis Tachwedd, y Cyhoeddir, Pris 8c. wedi ei wnio, Almanac Cymraeg am y Flwyddyn o Oed ein Iachawdwr 1778. Argraffwyd ac ar werth gan Ross, yng Nghaerfyrddin.'

32. 'An Account of the most Romantic Parts of North Wales.

London, Printed for T. Davies, Russel-Street, Covent-Garden; and T. Cadell, in the Strand. MDCCLXXVII.'

Y mae y cyflwyniad i 'Sir Watkin Williams Wynne,' gan 'Joseph Cradock.'

33. 'Dwy o Gerddi Newyddion. Y gyntaf ynghylch Llofryddiaeth a wnaeth Gwr yn ymryfus; ac fel y bwriwyd y Weithred ar Wr arall ac fel y Safodd y Gwr ai lladdasai ef yn Fforman i achub y Dyn gwirion ac y bu ef 15 mlynedd yn fyw wedi lladd y Gwr, ar peth fynegodd ir Ustus fel y bu. Yr Ail fel y darfu i Wr yn agos ir Bala dagu ei wraig newydd Briodi ai bwrw i Afon Dyfrdwy hwn sydd yn Garcharwr i aros i gyfiawn Farnedigaeth am ei Weithred.

* Twm o'r Nant.

† Gwel rhif 27, d.f. 1779.

Ni Werth Ddyn prydferth un pryd: y Nefoedd
Er nwyf ac Ifienctid;
Siomedig Benthyg yw'r Byd
Ai fonedd ni Sai Funud. *Dewi Fardd* cc.

Trefriw Argraphwyd gan Dafydd Jones. 1777.'

Enw 'Ellis Roberts' sydd wrth y cerddi hyn, fel awdwr.

34. 'Marwnad Bridget Roberts, Gwraig Weddw Dduwiol, o Lanbrynmair, yn Sir Drefaldwyn, yr hon a ymadawodd â'r Bywyd hwn Rhag. 19. 1776, yn 78 Mlwydd Oed.

Caerfyrddin, Argraffwyd tros yr Awdwr gan J. Ross. MDCCLXXVII.'

Yr awdwr ydoedd un William Jones.

35. ['Ffurf Gweddi a Diolchgarwch i'r Hollalluog Dduw,' &c.

Llundain, 1777.*]

## 1778.

1. 'Bardd a Byrddau, Amryw Seigiau, Neu Gasgliad o Gynghanedd, sef Carolau a Cherddi a Chywyddau, o waith Jonathan Hughes, Pengwern wrth Llangollen, yn Sir Ddinbych.

Argraphwyd yn y Mwythig gan Stafford Prys, yn y flwyddyn 1778.'

Bu JONATHAN HUGHES farw Tachwedd 25, 1805, yn 84 oed, a chladdwyd ef ym Mynwent Llangollen, ac arno y mae y beddargraff canlynol:—

'Am ddawnus gofus gyfan,—wîr sulwad
A'i sylwedd doeth gynghan;
Odid fawr yn llawr y llan,
Byth nytha bath Ionathan.'

T. E. neu T. Edwards, o'r Nant, yw awdwr yr englyn.

2. ¶ 'Carwr y Cymru yn anfon ychydig Gymmorth i bob Tad a Mam, &c.

Mwythig.' 12plyg.

3. ¶ 'Yr Act am Bwyso Aur, a osodwyd allan mewn Trefn Ysbrydol, mewn dull o ymddiddan.'

Os yw y mynegiad yn gywir, y mae hwn yn ail argraffiad.†

4. 'Traethiadau ar Gatechism Eglwys Loegr: gyda Phregeth ar Gonffirmasiwn. Gan Thomas Secker, L.L.D. Diweddar Arch-

* [Thomas Arthur's *Catalogue*, Dec. 1868.]

† Gwel rhif 13, d.f. 1775.

esgob Caergaint. A osodwyd allan o 'Sgrifen Law yr Awdwr. Gan Beilby Porteus, D.D. a George Stinton, D.D. Capelwyr i'w Râs ef. Gwedi ei Gyfieithu gan Thomas Jones, Ficar Pennant.

Argraphwyd yn y Mwythig, gan J. Eddowes. MDCCLXXVIII.'

Y mae hwn yn llyfr 8plyg da, o 433 o dudalenau, ac yn gyfansoddiad cyfrifol iawn, yn cynnwys corff o dduwinyddiaeth. Y mae enwau y tanysgrifwyr yn cyrhaedd i 304, ac yn cymmeryd 356 o lyfrau. Yr awdwr,

THOMAS SECKER, LL.D., a anwyd yn Sibthrop, sir Nottingham, yn 1693. Cafodd ei ddysgeidiaeth ar fedr bod yn weinidog Ymneillduol; ond tystiodd na allasai gydsynio â'r athrawiaethau a goleddid gan ei deulu, a chydffurfiodd â'r Eglwys Sefydledig. Cafodd yn olynol bersoniaeth Houghton-le-Spring, prebenduriaeth yn Durham, capeliaeth i'r Brenin, a phersoniaeth St. Iago, Westminster. Yn 1735, dyrchafwyd ef i esgobaeth Bristol, ac yn 1737 i esgobaeth Rhydychain, ac yn 1755 i archesgobaeth Caergaint, lle y bu hynod fel gweinydd trefn a diwygiwr moesau. Y mae ei waith yn Seisonaeg, yn cynnwys pregethau gan mwyaf, yn 12 cyfrol. Bu farw yn 1768, yn 75 oed.* Am y cyfieithydd,

THOMAS JONES, yr oedd wedi cael personiaeth Llangynog, gan yr Esgob Newcome, yn 1762, yr hon ymddengys a gyfnewidiodd yn 1782 am Bennant Melangell. Bu farw tua'r fl. 1790.

5. 'Golwg ar Ddinas Noddfa, mewn Casgliad o Hymnau, &c. Gan Robert Thomas.

Trefriw, Argraffwyd.'

[Pa Robert Thomas ydoedd hwn? Ai nid Robert Thomas, Clochydd Llanfair Talhaiarn, yr hwn oedd yn dal y swydd hòno pan yr oedd Ieuan Brydydd Hir yn gurad yno?]

6. 'Dirgelwch i rai i'w Ddeall, ac i eraill i'w Watwar, sef Tri Aderyn yn ymddiddan, yr Eryr, a'r Golomen, a'r Gigfran, neu Arwydd i Annerch y Cymru. Am y flwyddyn 666.

Argraphwyd yng Ngwrecsam, ac ar werth yno gan R. Marsh, Gwerthwr Llyfrau. 1778.' [8plyg bychan: 174 tudalen.]

Yr oedd hwn yn bedwerydd argraffiad, o leiaf.†

7. 'Diferyn Dewisol o Fel o'r Graig Crist. Neu Air byr o Gyngor i Sant a Phechadur. Yn Saesoneg gan T. Wilcocs. Wedi ei gyfieithu o'r 42 Argraphiad: fe werthwyd o hono yn Saesoneg Chwe' Ugain Mil. At ba un y 'chwanegwyd Hymn am Gariad Crist. Newydd gyfieithu o Waith Dr. Watts.

Aberhonddu, Argraphwyd dros Rys Dafis, gan E. Evans. Lle y

* Maunder's *Biographical Treasury*.

† Gwel rhif 13, d.f. 1653; rhif 7, d.f. 1714; rhif 1, d.f. 1752; a hwn yma.

gellir cael argraphu pob math o Gopiau ar Bapur da a llythyren newydd, am Bris rhesymol. 1778. [Pris Dwy Geiniog.]'

Hwn, tybygid, yw yr ail argraffiad.*

8. ¶ 'Y Weinidogaeth Lwyddiannus, neu Ymddiddan ynghylch effeithioldeb a llwyddiant pregethu ym mhlith Cristionogion o wahanol farnau.

Llundain, argraphwyd ac ar werth gan T. N. Longman ac O. Rees, ac yng Nghaerfyrddin gan J. Ross a J. Daniel. (Pris chwecheiniog).'

Owen Rees, un o gyhoeddwyr y llyfryn uchod yn Llundain, ydoedd Gymro, ail fab i'r Parch. Josiah Rees, gweinidog Undodaidd y Gelli Onen, ger Castell Nedd. Wedi bod yng ngwasanaeth, ac yn gydranog â Longman a'i Gyf., llyfrwerthwyr yn Paternoster Row, Llundain, dros ddeugain o flynyddau, ac elwa llawer o gyfoeth, efe yng nghanol haf 1837 a enciliodd o'r fasnach, gan feddwl hir fwynhau gweddill ei ddyddiau yn Gelli Gron, lle a brynasai, ac a addurnasai er ys blynyddau gyda'r bwriad hwnw, a lle yr oedd ei dad yn anneddu. Ond efe a fu farw yn ddyn ammhriod Medi 5, 1837, yn 67 oed.†

9. 'Hanes y Bedyddwyr ym mhlith y Cymry, gan Josuah Thomas.

Caerfyrddin, argraphwyd dros yr Awdwr, gan J. Ross. 1778.'

'Yr oedd cynnygiad wedi ei wneyd i'r Awdwr i ymgymmeryd â'r gorchwyl er ys 30 mlynedd o'r blaen. Nid oedd ganddo nemawr feddwl am dano y pryd hynny. Cyn pen hir, cymmerodd ei sylw yn achlysurol. O ddeutu 1725, dechreuodd gasglu rhai awgrymiadau, fel y syrthient yn ei ffordd. Yn 1754, efe a symmudodd i Lanllieni, yn sir Henffordd. Wrth, fel hyn, adael y Dywysogaeth, bu agos iddo roddi i fyny bob meddwl am y pwnc; ond barnodd yn briodol roddi yr ychydig ddarnau a gawsai mewn rhyw drefn, ac yna eu hanfon i Gymru i'w lledaenu a'u diwygio cystal ag y gallent. Efe a wnaeth felly. Edrychodd un drostynt, a dywedodd na allai ef chwanegu dim: gwnaeth un arall yr un modd. Yr oedd yr Awdwr yn y Gymmanfa yng Nghymru, yn 1770, pryd yr adgofiwyd ef am yr Hanes. Efe a fynegodd yr hyn oedd ef wedi ei wneyd, a chymhellwyd ef i adgymmeryd y gwaith. Efe a wnaeth fath o addewid i wneyd felly, os na byddai i neb arall ymgymmeryd ag ef.

'O ddeutu yr amser hwnw yr oedd Mr. Thomson o Lundain yn casglu hanes byr am yr Ymneillduwyr o'r tri enwad trwy Loegr a Chymru. Anfonwyd llythyr at yr Awdwr i Lanllieni ar y pwnc, yr hyn a'i tueddodd i ymosod ar y pwnc hir ohiriedig hwn. Yr oedd ei feddwl wedi ei roddi arno gyda gradd o benderfyniad—efe a feddyliodd, a adgofiodd, a ysgrifenodd lythyrau—mewn gair, a

* Gwel rhif 11, d.f. 1740. [Gweler rhif 5, d.f. 1763; a rhif 31, d.f. 1764. Rhaid ei fod yn bedwerydd argraffiad yn y man lleiaf.]

† [Os bu O. Rees farw yn 1837 yn 67 mlwydd oed, nis gallasai fod ond 8 mlwydd oed yn 1768.]

wnaeth gymmaint ag oedd ei sefyllfa gaeth—pregethu bedair neu bump o weithiau yn yr wythnos, a chadw ysgol—yn ei ganiatäu. Yn 1776, efe a gymmerodd daith fer trwy Ddeheudir Cymru. Gwnaeth y Gymmanfa yn ei ffordd, a bu oddi cartref o ddeutu chwech wythnos, ac yn casglu defnyddiau. Ar ei ddychweliad, wrth edrych dros ei bapyrau, gwelodd yn fuan ddiffygion. Efe a ysgrifenodd i'r naill le a'r llall, am chwanegiadau ac egluriadau, gan fyned ym mlaen gyda'r gwaith yn ddiwyd. Yng ngwanwyn 1777, argraffwyd rhai hysbysiadau, a thaenwyd hwy ym mhlith yr eglwysi, yn eu hysbysu o sefyllfa'r gwaith, gan ddymuno arnynt ymgynghori yng nghyd pa un a elid ym mlaen, ynte a ollyngid ef i lawr: ac i roddi eu meddwl iddo ef yn y Gymmanfa. Yn ganlynol cafodd fod pob eglwys yn dymuno i'r Hanes gael ei argraffu. Yr oedd y rhifedi y cytunwyd i'w cymmeryd o ddeutu 800, a thalwyd 1*s*. o flaendal, ac argraffwyd 1200.

'Sylwodd yr Awdwr, mewn Llythyr at y Darllenydd, mai gan fod y gwaith y traethawd cyntaf ar bwnc dyrys, na allai neb yn briodol ddysgwyl iddo fod yn berffaith; ond os darganfyddid dim camgymmeriadau, y derbyniai yr hysbysiad yn ddiolchgar. Pan ledaenwyd y llyfr, gwnaed sylwadau, rhai yn gywir, a rhai yn anghywir; rhai mewn ffordd gyfeillgar, ereill ddim yn hollol felly; ond darfu i'r Ysgrifenydd wneyd cymmaint o ddefnydd ag a allai o bob hysbysiad, heb ofalu pa un a ddaethent oddi wrth gyfaill neu elyn. Ym mhen tuag ugain mis printiwyd 18 tudalen o *Ddiwygiadau ac Ychwanegiadau*,* o'r un plygiad â'r llyfr, a thaenwyd hwynt yn rhodd, fel y gallai y neb a ddewisai eu cydrwymo. Can belled a hyn gwnaeth yr Ysgrifenydd *yr hyn a allasai*.'†

Dyna hanes Mr. Thomas o'r gwaith. Y mae y llyfr yn 468 o dudalenau 8plyg, heb yr 18 tudalen o'r Diwygiadau. Gwelir nad yw yn ddiogel dilyn y gwaith heb y diwygiadau hyny, y rhai yn anfynych a geir wedi eu cydrwymo â'r gwaith, er eu bwriadu i'r pwrpas hwnw, a'u rhoddi yn rhad i'r derbynwyr. Heb law hyny, cafodd yr awdwr hanes hen eglwys neu gynnulleidfa Ilston, yr hwn a ddygasid i America gydag ymfudwyr cynnarol perthynol i'r Bedyddwyr; ac yn hwnw gwelodd drachefn rai camgymmeriadau, y rhai a ddiwygiodd, ond yn Seisonaeg, yn y llyfryn a enwir isod.‡ Yn 1839, cyhoeddwyd 'Hanes y Bedyddwyr yn Neheubarth Cymru, gan David Jones, Caerfyrddin,' yr hwn sydd wedi rhoddi y diwygiadau a'r ychwanegiodau yn eu lleoedd priodol.

10. 'Welch Piety: or a further Account of the Circulating Welch Charity Schools, from Michaelmas 1777 to Michaelmas 1778.'

Rhoddodd Mrs. Bevan hanner cant o'r uchod i'r Gymdeithas er Lledaenu Gwybodaeth Gristionogol.

* Gwel rhif 5, d.f. 1780.

† Thomas's *History of the Baptist Associations in Wales*, p. 52. *An Address to the Reader.*

‡ Thomas's *History of the Welsh Association;* 'Explanations and Additions, (with errors of the Press recitifyed) Made from the *Second Extracts*, sent by the Rev. Mr. Backus of Middeborough, after part of this History was printed.

11. 'Esponiad byr ar Catecism yr Eglwys, sef Holiadau ac Attebion Ysgrythyrol ynghylch Egwyddorion a Dyledswyddau'r Grefydd Gristionogol, yn bum rhan. Gan y Parchedig Mr. Griffith Jones, gynt Person Llanddowror, yn Sîr Gaerfyrddin. Y Pedwerydd argraphiad.*

Llundain: argraphwyd gan William Olifer, yn Bartholomew-Close, ger llaw West Smithfield. M,DCC,LXXVIII.'

Nid arferai 'Person Llanddowror' roddi ei enw wrth ei waith yn ei fywyd, dim ond 'gan Weinidog o Eglwys Loegr;' eithr ei gyfeillion wedi ei farwolaeth a newidiasant hyny am ei enw yn llawn.

12. 'Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, am y flwyddyn 1778.

Caerfyrddin, argraphwyd gan Ioan Ross, yn Heol-y-Prior.'

13. Rhyw lyfr ar y Drindod.

Dywed y Parch. Josuah Thomas, am Gymmanfa y Glyn, yn sir Ddinbych, 1774:—'Yn flaenorol i gyfarfod y Glyn, argraffwyd y llyfr yn Gymraeg, yn cynnwys rhai pethau o berthynas i'r Drindod, yr hyn a dybiai llawer yn gyfeiliornus. Yn y llythyr hwn, tystiodd y Gymmanfa ei hanfoddlonrwydd iddynt, gan y tybid mai Bedyddiwr ydoedd Awdwr y llyfr.'†

14. 'Llythyr y gwir Barchedig Dad yn Nuw, Risiart Davies, D.D. Esgob Ty Ddewi, at y Cymry. Yr hwn Lythyr a 'sgrifenodd efe at ei Gyd-wladwyr o flaen Cyfieithiad Wiliam Salsbri o'r Testament Newydd, i'w hannog hwy i ddarllain a defnyddio Gair Duw. Y pedwerydd argraffiad.‡

Caerfyrddin: Argraffwyd gan John Ross, yn Heol-y-Prior. M,DCC,LXXVIII.'

15. 'Caniadau Preswylwyr y Llwch, neu Hymnau ac Odlau y Gwaredigion o Wlad yr Aipht i Gaersalem Newydd. Salm cxvii. 2, &c.

Argraphwyd dros Sion Evan, yn y flwyddyn MDCCLXXVIII.'

Y mae arwyddion mai gwaith Almanaciwr Caergybi§ yw y llyfr uchod. Y maent o bob barn athrawiaethol, fel gwaith y gwr hwnw yn gyffredin; eto, y maent yn hymnau melusion, a barddonol iawn, gan mwyaf. Ymddengys, oddi wrth hysbysiad cyssylltedig â'r llyfr uchod, am gyhoeddiad yr 'Athrofa Rad,' gan yr un gwr, a'r

* Gwel rhif 3, d.f. 1743; rhif 2, d.f. 1749; rhif 18, d.f. 1766; a hwn yma.

† *History of the Welsh Association*, p. 68.

‡ Gwel rhif 2, d.f. 1567; rhif 1, d.f. 1772; a hwn yma. Nid ydys wedi cael ond y tri hyn. [Cymharer y nodyn ar rif 1, d.f. 1772.]

§ John Roberts, neu Sion Rhobert Lewys.

'Diferyn Dewisol o Fel,' mai F. Huxley, Caerlleon, a'i hargraffodd, canys efe a argraffodd yr olaf.

16. 'Eglurun y Boreu; ar Waith y Nosweithieu; sef llyfr Dehongliad Breuddwydion o amriw ystyriaethau. Ymha un y dangosir Gwahaniaeth rhwng Breuddwydion Gwylltion a Breuddwydion o Rybydd, ynghyd a chywir arwyddocad arnynt. Yr ail argraphiad yn llawnach nag o'r blaen.

Argraphwyd yng Ngwrecsam gan R. Marsh, Gwerthwr Llyfrau, lle yr argrephir pob math o lyfrau, &c., yn y modd mwya' hardd a buan, ac am y pris issa. 1778.'

Nid ydym wedi cael yr argraffiad cyntaf, a daeth allan argraffiadau o hono yn y 19fed canrif.

17. 'Two successive Tours through the whole of Wales, with several of the adjacent English Counties, so as to form a comprehensive View of the picturesque beauty, the peculiar manners and the fine antiquity in that interesting part of the British Island, by Henry Skerne, Esq.

London. 1778.' 8vo.

18. 'Marwnad, er Coffadwriaeth o Farwolaeth y Parch. W. Owen Jones, o Dredraeth; a Thomas Jones, Aberteifi, gynt o Waingelod. Dau Was i Iesu Grist, a aeth adref o Fyd o wai i Fyd o wynfyd, Ynghyd a 'chydig o Hymnau, Ar amrywiol Destynau o'r 'Scrythur, ac yn brofiadol. Gan John Evans, gerllaw Castell-Newydd.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Ross. 1778.'

19. 'Gosodedigaethau Anrhydeddus Gymdeithas y Cymrodorion yn Llundain. Dechreuedig yn Mis Medi 1751.

Llundain Printiedig i Wasanaeth y Gymdeithas. M DCC LXXVIII.'

20. ¶ 'Prophwydoliaeth Myrddin; Wedi ei chyfansoddi ar Fesur Cerdd yn y Flwyddyn 1668. Gan Weinidog o Eglwys Loegr. Y trydydd Argraphiad.'

Nid ydys wedi cael gafael yn yr argraffiadau blaenorol.

[Gweler rhif 24, d.f. 1768. Diau mai yn amryfus, naill ai gan argraffwr y trydydd argraffiad, ai gan ein hawdwr wrth adysgrifenu, y gosodwyd y flwyddyn '1668' yn lle 1768; canys y mae y pennill diweddaf yn hysbysu yn ddiamwys mai yn 1768 y cyfansoddwyd y gerdd.]

21. ¶ 'Ymddiddan rhwng Swagrer golygus ag Arlwyddes hawddgar, yn gosod allan y modd y ceisiodd ei themtio i Odineb, ac fel y darfu iddi trwy amryw Resymmau ei wrthwynebu a'i orchfygu.'

22. 'Gorfoledd ym Mhebyll Seion. Y Drydedd Ran. Neu Ychydig o Hymnau Efangylaidd, Wedi eu cymmeryd allan o amryw Destynau o'r Ysgrythyrau Sanctaidd. Wedi eu hamcanu i'r Diben o ddiddanu'r gwan feddwl, sydd ar ei Daith tu a'r Jerusalem newydd, gwir Noddfa'r Gwaredigion, &c. A Gyfansoddwyd gan Dafydd William, gynt o Landeilo Tal y Bont, yn Sir Forganwg.

Aberhonddu, Argraphwyd tros yr Awdwr gan E. Evans, 1778. Lle gellir cael agraphu pob math o Gopiau, ar Bapur da a Llythyren newydd, am Bris rhesymmol. (Pris Ceiniog).'

23. ¶ 'Gorfoledd ym Mhebyll Seion. Y Bedwerydd Ran. Gan Dafydd William.

Aberhonddu.'

24. 'A Tour in Wales MDCCLXXIII.

London Printed by Henry Hughes. MDCCLXXVIII.'

'Wedi amryw deithiau dros chwe' Sir *Gogledd Cymru*, yn y rhai y cesglais lawer o ddefnyddiau i wneyd eu hanes, mi a'u teflais i ffurf taith, a chyhoeddais y gyfrol gyntaf yn bedwarplyg, gyda xxvi o gerfluniau, yn 1778.'* Dyna fel y dywed yr awdwr galluog, y teithydd a'r hynafiaethydd enwog,

THOMAS PENNANT, yr hwn oedd fab hynaf David Pennant, Ysw., o'r Downing, ym mhlwyf Whitfford, sir Fflint, lle y ganwyd ef Mehefin 14, 1726. Cafodd ei ddysgeidiaeth yng Ngwrecsam a Rhydychain. Treuliodd ei holl oes yn efrydu hanesiaeth naturiol a hynafiaethol, gan deithio o'r naill wlad i'r llall, i chwilio am bob peth hynod—llysiau, mwnau, anifeiliaid, pysg, ac adar; ac hefyd hen weithiau celfyddyd, ac achau y Brytaniaid, y rhai a gyhoeddodd mewn ffurf teithiau; ac ym mhlith ereill, teithiau trwy Gymru, y rhai ydynt annhraethol werthfawr, o blegid ei sylw o bob hynafiaeth. Daeth ei holl waith i gryn un ar bymtheg ar hugain o gyfrolau. Cydnabuwyd ei werth gan Brifysgol Rhydychain, trwy ei raddio yn LL.D. Bu farw Rhagfyr 16, 1798, yn 72 oed.†

25. 'Galarnad Ann Pugh, o Blwyf Llangammarch, ar ol ei Mab Rhys Pugh, Yr hwn a ymadawodd â'r Byd yn 22 Oed, yn Nechreu y Flwyddyn 1778. Ac a roddodd yn ei Ewyllys diweddaf ugain Punt at Gapel Cefen Gorwydd. Gan W. Williams.

Aberhonddu, Argraphwyd gan E. Evans, 1778.'

26. ['Hyfforddwr Cyfarwydd i'r Nefoedd. Gan J. Alleine.

Mwythig, 1778, 12plyg.]

* *The Literary Life of the late Themas Pennant, Esq.*, p. 26.

† *Literary Life*, &c.; *History of Whitford and Llanasa;* Parry's *Cambrian Plutarch*, p. 357.

## 1779.

1. 'Hanes Troedigaeth rhyfedd a hynod y Parchedig Thomas Goodwin, D.D. A ddygwyd i fyny yng Nghambridge, a weinidogaethodd yn llwyddiannus yno a Lleoedd eraill, aeth drosodd i Holand, a fu yn Fugail ar Gynnulleidfa Saesoneg yno, a ddychwelodd i Loegr, ac a fu yn un o Aelodau'r Gymmanfa barchedig yn Westminster, lle cyfansoddwyd Catecism y Gymmanfa, ac a 'sgrifennodd amrywiol o Lyfrau bywiol ac ardderchog mewn Difinyddiaeth. Lle dangosir pa mor belled y gall Serchiadau Natur, Argyhoeddiadau cyffredin, Cydwybod naturiol, a Chrefydd hunangyfiawn fyned, heb wir Ras, Adnabyddiaeth o Dduw, nac un Egwyddor union o Sancteiddrwydd. Ynghyd a Hymnau ar Fesurau newyddion. Gan W. Williams.

Aberhonddu, Argraphwyd gan E. Evans. Lle gellir cael argraphu pob math o Lyfrau, ar Bapur da, a Llythyren newydd, am Bris rhesymol, 1779.'

Y mae yn ei ddiwedd hysbysiad helaeth am y 'Pantheologia,' oedd wedi ei gyhoeddi er ys 17 o flynyddoedd yn ol,* a rhesymau drosto, yn erbyn gwrthddadleuon rhywrai.

2. ¶ 'Pregeth ar Salm cxix. 165. Gan Thos. Jones, Ficar Pennant.

Aberhonddu.'

3. ¶ 'Llyfr Gweddi Gyffredin.

Caergrawnt.' 12plyg.

Cyhoeddwyd y 'Llyfr Gweddi' uchod ar draul y Gymdeithas er Lledaenu Gwybodaeth Gristionogol, a gwerthid ef am 10*s.* 10*c.*

4. 'Welch Piety: or a Further Account of the Circulating Welch Charity Schools from Michaelmas 1778 to Michaelmas 1779.'

Rhoddodd Mrs. Bevan hanner cant o'r uchod i Lyfrfa y Gymdeithas er Lledaenu Gwybodaeth Gristionogol.

5. 'Llun Agrippa. Y Cristion o fewn ychydig wedi ei Ddadguddio: Neu'r Gau Broffeswr wedi ei Chwilio a'i Holi, yn cael ei Fwrw ymaith. Gan Mathew Mead. Yr ail Argraphiad,† Gwedi ei Gymmharu â'r Saesonaeg, a'i ddiwygio o amrywiol o Feiau, ag oedd yn yr Argraphiad cyntaf.

Trefecca; Argraphwyd yn y flwyddyn 1779. Pris 9 ceiniog.'

* Gwel rhif 2, d.f. 1762.

† Gwel rhif 16, d.f. 1770.

6. 'Ychydig o Eiriau o Hymnau Newydd, o waith Thomas Dafydd, ar ddymuniad rhai o'i Ffryns Cristionogol, a gafodd lawer o fudd wrth eu canu, Ynghyd a Marwnad Elizabeth Jones, o Dref Llantrisaint, ar ddymuniad pobl Ieuaingc na's cawsant yr argraffiad cyntaf.'

7. 'Blodeu-gerdd Cymry. Sef Casgliad o Caniadau Cymreig, gan amryw Awdwyr o'r Oes ddiwaethaf. Yr hwn a gynnwys draethiadau Duwiol, a Diddanol; y rhai ni fuant yn gyhoeddedig mewn Argraph o'r blaen. O Gynnulliad David Jones o Drefriw.

Argraphwyd yn y Mwythig, ac ar werth yno gan Stafford Prys, gwerthwr llyfrai.

☞ Bydded hyspys i'r Cymru, fod Llyfr Dewisol Ganiadau yr Oes Hon yn yr argraphwasg, ac a fydd yn barod ynghylch Gwyl Mihangel 1779. Pris 3s.'

Y mae hwn yn llyfr trwchus o xxviii a 544=oll yn 572 o dudalenau 12plyg. [Nid oes dyddiad wrtho, ond yr hyn a awgrymir uchod.]

8. 'Deonglydd y Ser.'

9. 'Dewisol Ganiadau yr Oes Hon. O waith llawer o Feirdd Cymru. A gasglwyd ac a gyfansoddwyd gan Hugh Jones, Llangwm.

Argraphwyd yn y Mwythig gan Stafford Prys yn y flwyddyn 1779.'

Ymddengys fod hwn yn ail neu yn drydydd o'r tri argraffiad a gyhoeddwyd o hono.*

10. 'A Geographical, Historical, and Religious Account of the Parish of Aberystruth: in the County of Monmouth. To which are added, Memoirs of several Persons of Note, who lived in the said Parish. By Edmund Jones.

Trevecka: Printed in the Year 1779.'

11. 'Seren Tan Gwmwl.

Llundain. 1779.'

Awdwr y llyfr ydoedd

John Jones, brodor o Lan y Gors, ym mhlwyf Ceryg y Drudion, yn sir Ddinbych; ac o blegid hyny a adnabyddid yn well wrth yr enw 'Sion o Lan y Gors' Bu flynyddoedd yn cadw tafarn, a elwid *King's Head*, yn Heol Ludgate, Llundain. Yr oedd ganddo ddoniau anghyffredin i gyfansoddi barddoniaeth ddigrifol, fel y prawf

* Gwel rhif 1, d.f. 1759. [Ymddangosodd argraffiad o'r gwaith yn Nhreffynnon yn 1823, yr hwn a elwir 'Y Trydydd Argraffiad.']

ei gerddi, 'Dic Sion Dafydd,' 'Offeiriad Aberteifi,' 'Bess yn Teyrnasu,' 'Sessiwn yng Nghymru,' &c. Pleidio y Chwyldroad yn Ffrainc y mae y llyfr uchod. Y mae yn cynnwys y sylwadau llymaf ar freninoedd a allai iaith ei roddi; er y rhaid cyfaddef fod amgylchiadau yr amser yn gwneyd peth yn gabldraith y pryd hyny, na chyfrifasid felly ar amserau, a than amgylchiadau ereill. Gwnaeth y llyfr gryn gynhwrf yn y wlad y pryd hyny; ac ysgrifenwyd atebiad iddo. Mr. Jones oedd yr ysgrifenydd mwyaf llafurus a fu yng ngwasanaeth Cymdeithas y Cymreigyddion. Bu farw Mai 21, 1821, yn 52 oed; a chladdwyd ef yn Eglwys St. George, ger St. Paul, Llundain.

12. 'Hanes Troedigaeth un o'r Indiaid digred i'r grefydd Gristionogol. Mewn Llythyr at Ffrynd.

Aberhonddu, argraphwyd ac ar werth gan E. Evans. 1779. [Pris dwy geiniog].'

Y mae yn dra thebygol mai un o lyfrynau 'Bardd Pant y Celyn' yw hwn.

13. 'Coppi o Lythyr, yr hwn a gafwyd tan Garreg. Y pedwerydd argraffiad.

Trefriw. 1779.'

Y mae yr hysbysiad canlynol ar ddalen ddiweddaf y llyfryn uchod:—

'Bydded hyspys fod John Williams, Dysgawdwr Miwsic, o Fodedeyrn, yn bwriadu, trwy help ei gydwladwyr a phawb o'i ewyllyswyr dâ, gael llyfr i'r print, a elwir (Cerddoriaeth Seion) yn dair rhan,

1. Yn Egoryd ar (Gamut) sef Clorian Peroriaeth, ac eglurhad helaeth ar bob gradd o'r Tônau amser cyffredin ac amser trefflyc.

2. Y Peroriaetheu ac adnodau o'r Salmau, ynghyd a fo'n berthynasol i bob un.

3. Hymnau ac Anthem ar amryw achosion, ynghyd a Geirlyfr yn egoryd ar y geiriau caledion mewn Miwsic; a'r llyfr a ddaw allan gan gynted ac y ceffir digon o gynnorthwywyr. Ai bris a fydd 2s. 6c. mewn papur glas.'

Ni wyddys a gafwyd y gefnogaeth angenrheidiol i'w gyhoeddi. Nid ydys wedi ei weled erioed.

14. 'Marwnad Elizabeth Jones o Lantrisant, yn sir Forganwg. Gan Dafydd Williams.

Aberhonddu, argraphwyd gan E. Evans.'

Pregethwyd yn ei chladdedigaeth gan yr efengylaidd Barch. D. Jones, Llanganna. Yr oedd hwn yn drydydd argraffiad.

15. 'Testament Newydd ein Harglwydd a'n Iachawdwr Iesu Grist, &c.

Argraffwyd yn y Flwyddyn ein Harglwydd. M,DCC,LXXIX.'

Testament bychan tew ydoedd hwn, a'r llinellau yn croesi y ddalen, ac nid yn golofnau. Nid oes enw argraffydd, am mai cyhoeddiad dirgelaidd ydoedd, gan rai o argraffwyr y Mwythig, tybygid, heb yn wybod i argraffwyr y Brenin na'r Prifysgolion, gan y rhai yr oedd trwydded i argraffu yr Ysgrythyrau heb esboniad na deongliad. Ond yr oedd parotoad yn cael ei wneyd, yr oedd y Gymdeithas er Lledaenu Gwybodaeth Gristionogol yn casglu cyfraniadau er ys blynyddoedd bellach, tuag at gyhoeddi argraffiad o'r Testament a'r Beibl yn Gymraeg, a cheir y cyfrif canlynol :—

| Derbyniwyd tuag at y Beibl Cymraeg, a'r arian am Lyfrau. | £ | s. | d. | Talwyd ar gyfrif y Beibl Cymreig. £ | s. | d. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| O Ebrill 1771 i Ebrill 1772... | 167 | 2 | 0... ... | 86 | 15 | 0 |
| —— 1773 —— 1774... | 225 | 6 | 8... ... | 172 | 4 | 2 |
| —— 1775 —— 1776... | 166 | 3 | 6... ... | 95 | 2 | 6 |
| —— 1777 —— 1778... | 2 | 2 | 0 | | | |
| —— 1778 —— 1779... | 30 | 18 | 0... ... | 17 | 11 | 6 |
| —— 1779 —— 1780... | 6 | 15 | 0... ... | 1 | 10 | 0 |

Yn y cyfraniadau uchod ceir enw y Dr. Shipley am 5*p*. 5*s*. am ddwy flynedd; y Dr. Lloyd, deon Bangor, am gini y flwyddyn dros bum mlynedd; Mrs. Hughes, Bryn y Pys, sir Fflint, am 3*p*. 3*s*.; y Parch. Mr. Williams, ficer Llanegwad, sir Gaerfyrddin, am 4*p*. 4*s*. am ddwy flynedd; Mr. W. Williams, Caernarfon, am 3*p*. 3*s*. am ddwy flynedd; esgob Bangor am 2*p*. 2*s*.; y Parch. W. Thomas, canghellwr Llandaf, am 1*p*. 1*s*.; John Ellis, Ysw., Eyton, sir Ddinbych, am 1*p*. 1*s*.; y Parch. S. Strong, person Marchwiail, sir Ddinbych, am 1*p*. 1*s*.; Mr. Lloyd, ger Gwrecsam, am 1*p*. 1*s*.; hefyd ceir enw un Mrs. Sidney, wedi rhoi 5*p*. tuag at lyfrau crefyddol a thraethodau i'w hanfon i Gymru.

16. 'Byrr Hanes o'r pethau mwyaf hynod ym mywyd James Albert Ukawsaw Groniasaw, Tywysog o Affrica: Fel yr adroddwyd ganddo ef ei hun.

Aberhonddu, argraphwyd dros y Parch. Mr. W. Williams, gan E. Evans. 1779.'

Y mae y 'Rhagymadrodd at y Darllenydd' gan W. Shirley; ac yn gyssylltedig ag ef, rhoddodd Mr. Williams yr hysbysiad canlynol :—

'Bydded hyspys i'r Cyffredin, fod llyfr yn dyfod allan cyn pen Amser hir, os yr Arglwydd a ganiatta, o waith cyfieithydd y llyfr hwn: ag elwir *Gloria Scripturarum*, neu Ogoniant yr Ysgrythyr lân.' Yna rhydd ei gynnwysiad, ac ychwanega, 'Er mwyn cael prawf o yspryd y llyfr, mi roddais rai gwersi o'i ddechreuad ef yma, hyd i bedair tu dalen.' Nid ydys wedi dygwydd cael gafael arno, na

chlywed ychwaneg yn ei gylch, os cafodd ei gyhoeddi; ac yr ydys yn lled benderfynol na chafodd, ac iddo ei gorffori yn yr ail argraffiad o'r 'Golwg ar Deyrnas Crist.' Y mae yr esiampl a roes o hono yn ei brofi yn gystal a dim arall o'i eiddo.

17. 'Llythyr y Gymmanfa, &c. Mehefin 1779, yn y Glyn-Caerog, yn sir Ddinbych; yn arddel Ffydd o flaen Bedydd.'

18. 'Addewidion Duw yn sylfaen Ffydd ac yn achos rhyfeddod a mawl y saint. Pregeth ger bron Henuriaid, Gweinidogion, ac eraill oedd Genhadon oddiwrth amryw Eglwysi y Bedyddwyr yng Nghymru, wedi cyfarfod mewn Cymmanfa yng Nglyn-Ceiriog, yn Sîr Dinbych ar y 9fed o Fehefin 1779. A bregethwyd yno yn Saisnaeg Gan Mr. Samuel Medley: Wedi ei throi i'r Gymraeg, a'i Hargraphu, er lles cyffredin i'r Cymry, ar Ddymyniad rhai a'i clywsant.

Caerfyrddin; Argraphwyd gan Ioan Ross, yn Heol-yPrior, gerllaw'r Eglwys. MDCC,LXXIX.'

Wrth roddi hanes y Gymmanfa hon o eiddo y Bedyddwyr yn y Gogledd, dywed Mr. J. Thomas, 'Pregethodd y brawd John Williams, Gweinidog Llangloffan, oddiwrth Ioan i. 1—3. a'r brawd Samuel Medley, o Liverpool, yn Saesoneg, oddiwrth Zech. ix. 16, 17, a ail-ddywedwyd yn Gymraeg, gan y brawd T. Philips.'* T. Philips oedd weinidog y Bedyddwyr yng Nghaerlleon ar Wysg, yn sir Fynwy. Mae yn debyg mai efe a'i cyfieithodd i'r wasg hefyd.

19. 'Ychydig o Hymnau: O Waith John Williams, o Sîr Frecheiniog.

Argraphwyd yn Aberhonddu gan E. Evans. 1779.'

20. 'Dedwydd Ymadawiad y Duwiol: Neu Farwnad Elizabeth Jones, o Dref Llantrisant, yn Sir Forganwg. Yr hon a ymadawodd o'r Byd hwn, i Fyd yr Ysprydoedd Ebrill 18, 1779, &c.

Argraphwyd dros Thomas Dafydd, gan E. Evans, yn Aberhonddu.'†

21. 'Y Catecism; Hynny yw, Athrawiaeth i'w dysgu gan bob un, cyn ei ddwyn i'w Gonffirmio gan yr Esgob. Gyda ag Ysgrythyrol Testynau perthynasol.

Argraphwyd yn Llundain yn y Flwyddyn MDCCLXXIX.'‡

22. ¶ 'Gweddiau Boreuol a Phrydnhawnol o'r Litani.'§

* *History of the Welsh Associations*, p. 68.

† Dyma yr argraffiad cyntaf y cyfeirir ato yn rhif 6 uchod, yr hyn a ddengys y dylasai hwnw fod ar ol hwn, er, ef allai, yn yr un flwyddyn.

‡ Gwel rhif 11, d.f. 1775.

§ *Ysgrif* Mr. B. Davies, Ysgolfeistr.

23. ¶ 'Can Dduwiol, Ar Ddull Ymddiddan, Rhwng Proffeswr Hunan Gyfiawn a'i Gydwybod, Wedi cael ei argyhoeddi. Gan Dafydd Jones, gynt o Gayo.

Caerfyrddin, argraphwyd gan John Daniel yn Heol y Brenin.'

24. 'Bywyd Duw yn Enaid Dyn: neu, Natur a Rhagoroldeb y Grefydd Grist'nogol. Ynghyd a'r Modd i gyrraedd y Gwynfyd ag y mae hi yn ei Gynnyg. Yn Saesonaeg gan Henry Scougal, A.M. Ac wedi ei droi i'r Gymraeg gan D.D.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Ross yn Heol-y-Prior, gerllaw'r Eglwys. M,DCC,LXXIX.' [12plyg: 120 tudalen.]

HENRY SCOUGAL oedd ail fab Patrick Scougal, esgob Aberdeen. Ganwyd ef ym Mehefin, 1650. Yn fuan wedi gorphen ei amser yn y brifysgol, dewiswyd ef yn broffeswr duwinyddiaeth yng Ngholeg y Brenin, Aberdeen. Wedi llanw y swydd hòno yn anrhydeddus am dair blynedd, cymmerwyd ef yn glaf gan y darfodedigaeth, yr hwn hefyd a roddodd derfyn ar ei fywyd gwerthfawr, Mehefin 13, 1678, ychydig ddyddiau cyn cyrhaedd 28 mlwydd oed. Heb law y traethawd uchod, cyhoeddwyd naw o'i bregethau o'i lawysgrifau wedi ei farwolaeth.*

[Y 'D. D.' a droes y llyfr i'r Gymraeg, ydoedd yr hyglod DAFYDD DAFIS, Castell Hywel, Ceredigion, awdwr 'Telyn Dewi,' yr hwn a anwyd yn y Goet-tref Isaf, plwyf Llangybi, ger Llanbedr, Ceredigion, yn y fl. 1745, ac a fu farw Gorph. 3, 1827, wedi cyrhaedd henaint teg. Dywedir yn y *Dictionary of Eminent Welshmen*, mai o gylch y fl. 1743 y ganwyd ef, ac mai o gylch y fl. 1826 y bu efe farw; ond cymmerwyd y dyddiadau uchod allan o'i 'Gofiant' gan ei olynydd yn y weinidogaeth, yng Nghiliau, y Parch. Thomas Griffiths *(Tau Gimel)*, yr hwn a ymddangosodd o wasg Caerfyrddin mewn llyfryn 12plyg yn 1828; ac nid oes un sail i ammheu eu cywirdeb. Yr oedd y cofiannwr a'r cofiannedig yn ddigon adnabyddus â'u gilydd.]

25. 'Tour in Wales MDCCLXXIII.

Dublin, Printed for Messrs. Steater, &c. M,DCC,LXXIX.'

26. 'Dwy o Gerddi Newyddion.

Trefriw, Argraphwyd gan Dafydd Jones. 1779.'

Gwaith 'Elis y Cowper' ydynt.

27. 'Joy in the Tents of Zion: Or A Few Gospel Hymns, Taken out of Several Texts of the Sacred Scriptures. Desined to Comfort the Weak-hearted on his Journey towards the New Jerusalem, the true Refuge of the Redeemed ones, &c. By David Williams, late of Landeilo-Bridge-End, in Glamorganshire.

Brecknock, Printed and Sold by E. Evans, 1779.'

Cyfieithiad yw yr uchod o waith Cymraeg yr awdwr.†

* *Llythyr* y Parch. T. Rees.
† Gwel rhif 30, d.f. 1777.

## 1780.

1. 'Y pedwerydd Llythyr, Oddiwrth eich Cyfaill a'ch Carwr (Pechadurus) sydd yn ymdrybaeddu y'ngwynau a'i Chwantau, fel y gwaethaf o honoch. Yr ymadrodd a gymmerais allan o'r Ddeuddegfed Bennod o Lyfr y Pregethwr, (o'r eiddo Solomon) ar Bedwerydd adnod ar ddeg, &c. O waith Ellis Roberts, Cowper. Yr Ail Argraphiad.

Trefriw, Argraphwyd gan Dafydd Jones, 1780.' 16 tndalen 12plyg.

2. ¶ 'Llyfr Gweddi Gyffredin.

Argraphwyd yn Llundain, gan C. Eyre, a W. Stratham.'*

Prynodd C. Eyre y 30 mlynedd o freintlythyr Newcome a Hills, fel argraffwyr y brenin, am 10,000*p.*, a chymmerodd W. Stratham yn gydranog, wedi hyny ei fab Andrew; a bu hwnw farw yn werth miliwn o bunau, gan adael y fasnach i Spottiswood, &c.

3. ¶ 'Dadl dros ddarllen yr Ysgrythyrau mewn cynnulleidfaoedd crefyddol. Gan y Parch. W. Richard o Lynn.'

Traethodyn gwerthfawr ydyw, o tua 12 tudalen. Argraffwyd ef yn Seisonaeg hefyd. Yr awdwr,

William Richards, LL.D., ydoedd fab i Henry Richards, amaethwr cyfrifol, ac a anwyd ym mhlwyf Penrhydd, ger Hwlffordd, yn sir Benfro, yn 1749. Ni chafodd ond un flwyddyn o ysgol, er hyny, daeth i allu darllen ei Feibl yn y ddwy iaith, a gwneyd ei hun yn gydnabyddus â'r awduron Seisoneg goreu, erbyn iddo ddyfod i'w oed. Yn 1773, pan yn 24 oed, efe a aeth i Athrofa y Bedyddwyr ym Mristol, lle y bu ddwy flynedd, ac y daeth yn gynnorthwywr y Dr. John Ash, gweinidog cynnulleidfa o Fedyddwyr yn Pershor, sir Caerwrangon. Yn 1776, derbyniodd wahoddiad oddi wrth gynnulleidfa o Fedyddwyr yn Lynn, sir Norffolc, a'r lle y sefydlodd. Heb law lluaws o lyfrynau dadleuol yn yr iaith Gymraeg, o'r hon yr oedd yn neillduol hoff, a selog drosti, a thros ei wlad a'i genedl. Efe a gyhoeddodd Eirlyfrau Cymraeg a Seisonaeg, a Seisonaeg a Chymraeg,† y rhai a welir mor fynych am iselbris ar hyd y wlad, yn nwylaw y werin. Cyhoeddodd yn Seisonaeg amrywiol weithiau, megys 'History of Lynn,' yn ddwy gyfrol 8plyg; 'A Review of the Memoirs of the House of Cromwell;' a 'Welsh Nonconformist Memorial,' a gyhoeddwyd wedi ei farwolaeth gan y Dr. John Evans. Anrhegwyd

* [*Strahan*, y mae yn debygol, a ddylai y cyfenw hwn fod.]

† [Ni chyhoeddodd y Dr. Richards un Geiriadur *Cymraeg a Seisoneg.* Tebygol iddo *fwriadu* gwneuthur hyny, ond ni chwblhaodd mo'i amcan. Yr unig Eiriadur a gyhoeddwyd ganddo yw yr un *Seisoneg a Chymraeg*, yr hwn a ymddangosodd yn y fl. 1798. Gweler rhif 3, dan y flwyddyn hòno. Tebygol i'r awdwr gael ei arwain i'r amryfusedd hwn gan Williams's *Eminent Welshmen*, yr hwn, yn hyn o beth, sydd anghywir.]

ef â'r radd o LL.D. gan Goleg y Bedyddwyr yn Ynys Rhod, America, i'r hon y cymmynroddodd ei lyfrfa ragorol. Bu farw Medi 13, 1818, yn 69 oed.*

4. 'Hanes y Byd a'r Amseroedd. Er hyfforddiad rhai o'r Cymru. O waith S. T.

Argraphwyd yn y Mwythig gan Stafford Prys, yn y flwyddyn 1780.'

Ymddengys fod hwn yn bedwerydd argraffiad.†

5. 'Rhai diwygiadau ar, ac ychydig ychwanegiadau at Hanes y Bedyddwyr.

Argraphwyd yn Nghaerfyrddin, 1780.'

Dernyn gwerthfawr yw hwn, ac fel y dywedwyd,‡ nid yw yn ddiogel dilyn 'Hanes y Bedyddwyr,' gan y Parch. J. Thomas, heb fod y 'Diwygiadau a'r Ychwanegiadau' hyn wrth law. Y mae weithiau i'w gael yn gydrwymedig â'r 'Hanes,' os amgen, y mae yn anhawdd cael gafael arno.

6. 'Amddiffyniad o'r Eglwys Gristionogol yn Bedyddio Plant Bychain. Ynghyd ag amlygiad a'u Hawl hwynt i Gyfammod â Duw. Ac i Fedydd.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Ross, yn Heol y Prior, ger llaw'r Eglwys. M.DCC.LXXX.'

Awdwr y llyfryn uchod ydoedd y Parch. Howell Howell, ficar Llanboidy, sir Gaerfyrddin. Bu ddeugain mlynedd yn ficar y plwyf hwnw, a bu farw Mawrth 26, 1793, yn 86 oed.§

Mae yn debyg i'r uchod ddyfod allan yn nechreu y flwyddyn hon; canys cyn ei diwedd, daeth allan y canlynol, mewn atebiad:—

7. 'Antigraphon neu Wrthgraphiad Sion yn achos y camachwyniad a gafodd yn ddiweddar gan awdwr mewn llyfr a elwir, Amddiffyniad o'r Eglwys Gristionogol yn bedyddio plant bychain. Gan D. Saunders, Aberduar.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Ross, yn Heol y Prior, gerllaw'r Eglwys, tros Dafydd William, Ffrynd a Chyfaill y Gwirionedd (Pris Tair Ceiniog).'

DAFYDD SAUNDERS ydoedd fab i Evan Saunders, o Aberduar, sir Gaerfyrddin; ac ewythr i'r diweddar Dafydd Saunders, Merthyr Tydfil. Dechreuodd bregethu yn 1764. Ordeiniwyd ef yn Aber-

* *Memoir of Dr. Richards*, by Evans.

† Gwel d.f. 1, 1721; rhif 1, d.f. 1724; rhif 1, d.f. 1728; a hwn yma.

‡ Gwel rhif 9, d.f. 1778.

§ Ei Feddargraff ym Mynwent Llanboidy.

duar, yn 1771. Ym mhen amser gadawodd y Bedyddwyr Neillduol, ac ymunodd â'r Bedyddwyr Cyffredinol. Bu farw Ebrill 26, 1812, yn 81 oed.*

8. 'Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, yn y flwyddyn 1780.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Ross, yn Heol-y-Prior.'

9. ¶ 'Dwy o Gerddi newyddion. Cerdd I. ar Hir oes i Fair. Yn gosod allan yn ol gair Duw, y Poenau sy' wedi eu darpar i'r Annuwiolion diedifeiriol yn Uffern. Cerdd II. Ar doriad y Dydd. Yn dangos fel y mae Gofid yn canlyn pob Dyn o'i Enedigaeth hyd Angau; ac fel y mae Dyn yn cwynfan rhagddo.

Argraphwyd yn Aberhonddu, gan E. Evans.'

Gwaith Ellis Roberts, y Cowper† ydynt, a dyma yr unig reswm dros eu cyfleu yma.

10. ¶ 'A Relation of Apparitions of Spirits in Wales.'

11. ¶ 'Marwnad Mrs. Grace Price. Gan W. Williams.'‡

12. 'A Collection of Valuable Tracts, (viz.) I. Archbishop Usher's Charge to his Clergy, at the Ordination. II. Archbishop Hort's Instructions to the Clergy of the Diocese of Tuam, abridged. III. The Importance of the Ministerial Character: Written in Blank Verse, by a Clergyman in Virginia. IV. A Vindication of the Freedom of Pastoral Advice: By the Rev. John Smith, A.B. Rector of Nantwich, Cheshire. V. The Life of the Right Reverend Father in God, William Cowper: Formerly Lord Bishop of Galloway. Written by himself. VI. The Life of Doctor William Beveridge: Late Lord Bishop of St. Asaph. VII. A Summary of the Life and Character of the Rev. Mr. Griffith Jones: Late Rector of Llanddowror, in Carmarthenshire: The first Projector and Conductor of the circulating Charity-Schools, throughout the Principality of Wales.

Printed 1780.'

* *Hanes y Bedyddwyr yn y Deheubarth*, gan D. Jones, t. 130, 327, 329, 582. Ysgrifenodd hefyd, a chyhoeddodd 'Nodau ar y Llyfryn a elwir Traethawd Byr ar Undeb a Phenaduriaeth yr Un Duw y Tad, ac Israddoliad ac Ymddibyniad ei Fab ef Iesu Grist, Gan R. Wright, yr hwn a gyfieithasid i'r Cymraeg gan Wm. Morgan, Ysgolfeistr yn Nghaerfyrddin,' 1816. Cyfieithodd hefyd dalfyriad o 'Draethawd Abraham Booth ar Deyrnas Crist.' Y mae hefyd ar gael 'Ychydig o Bennillion Profiadol, yn cynnwys Griddfanau Hiraethlon ar ei Ymadawiad ag Eglwys Aberduar—a'i symmudiad i Sïon, Merthyr Tydfil,' 1815. Hefyd 'Marwnad er Coffadwriaeth am y Parch. Zechariah Thomas, Gweinidog yr Efengyl yn Aberduar.'

† Gwel rhif 16, d.f. 1774.

‡ *Ysgrif* Mr. B. Davies, Ysgolfeistr.

Llyfryn teneu o 42 tudalen 8plyg ydyw. Ymddengys iddo gael ei gyhoeddi gan rai o'r offeiriaid Methodistaidd yn yr oes hòno yng Nghymru; ond yn ddi enw awdwr, cyhoeddydd, nac argraffydd.

13. 'Difyrwch diniwed I blant i'w hystyried, I'w cannu ar gynnydd Mewn deall a G. Sef deunaw o Ganiadau Ar amryw destynau. Gan Sion Llewelyn, o Goed-y-Cymmer, yn y Faenor, sir Frycheiniog.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Ross, 1780. [Pris Chwecheiniog.]'

Yr oedd hwn yn ail argraffiad.*

[Os yr un yw y gwaith hwn â rhif 8, d.f. 1772, a bod hwnw yn *ail* argraffiad, fel y mae yn cael ei alw, rhaid bod hwn yma yn drydydd argraffiad.]

14. ['British Topography: or An Historical Account of what has been done for illustrating the Topographical Antiquities of Great Britain and Ireland.'

London, 1780, 2 vols. 4to.]

15. [Llewelyn and his Bards. By John Walters, B.A. Scholar of Jesus College, Oxford. 1780.' 8vo.

JOHN WALTERS, B.C., ydoedd fab i'r Parchedig John Walters, A.C., Person Llandocheu, Morganwg, awdwr y Geirlyfr Seisoneg a Chymraeg (rhif 13, d.f. 1794). Cafodd ei ddysg yng Ngholeg Iesu, Rhydychain, o'r hon gymdeithas y dewiswyd ef yn gymmrawd; a chyfrifid ef yn ysgolhaig rhagorol. Bu yn gyntaf yn athraw Ysgol Pont y Fon, Morganwg, ac yn 1784 penodwyd ef yn brif athraw Ysgol Rhuthyn. Heb law y gwaith hwn, a ddaeth allan pan oedd ef o ddeutu 21 oed, cyhoeddodd Lythyrau at y Dr. Priestley; ysgrifenodd y Rhagymadrodd i'r 'Relics of the Welsh Bards' gan Edward Jones; ac adgyhoeddodd y 'Toxiphilus' o waith Roger Ascham. Bu farw Meh. 28, 1789, pan nad oedd ond deg ar hugain oed, a chladdwyd ef yn y Fynechdid, ger llaw Rhuthyn, lle yr oedd yn beriglor y plwyf; ac ar ei goflech y mae beddlith Lladin o waith ei dad.† Merch iddo ef ydoedd Hannah Walters, yr hon a gyhoeddodd y trydydd argraffiad o Eirlyfr ei thaid, yn Ninbych yn 1828,‡ gan ei gyflwyno i'r Milwriad W. Lewis Hughes, wedi hyny Arglwydd Dinorben, yn nheulu yr hwn yr ydoedd hi yn ddysgodres.]

16. ['Berr Hanes o'r pethau mwyaf hynod ym mywyd James Albert Ukawsaw Groniasaw, Tywysog o Affrica; Fel yr adroddwyd ganddo ef ei hun. Yr ail argraphiad.

Aberhonddu, Argraphwyd dros y Parch. Mr. W. Williams, gan E. Evans, 1780.]§ [12plyg.]

## 1781.

1. 'History o Rybydd i Bechaduriaid i edifarhau, neu ddisgrifiad

* Gwel rhif 8, d.f. 1772. Cyhoeddwyd argraffiad arall yn Abertawy yn 1814, o dan olygiad 'Tomas Williams, ŵyr i'r Awdwr.'

† Williams, *Eminent Welshmen*; Newcome, *Memoirs of the Goodmans*.

‡ [Adargraffwyd ef dan olygiad Gwallter Mechain.]

§ *Llythyr* Mr. R. Williams.

rhyfeddol fel y cafwyd dau henuriaid ynghoed Ressington, yn agos i Doncaster, yn sir Gaer Efrog. O gyfieithiad Thomas Morris o'r Ysbyttŷ.

Trefriw.'

2. 'Galwad gan wyr Eglwysig at bawb ffyddlon, i gydsynio mewn Gweddi, yn enwedig tra parhao'r rhyfel presennol. Gan P. Williams. Yr ail argraphiad.*

Caerfyrddin, Argraphwyd gan John Ross, 1781.'

3. ¶ 'Dadl dros Grefydd bur a Dihalog, &c., gan gyfaill: mewn llythyr at y cyfaill hwnw. A gyhoeddwyd gyntaf yn Saesonaeg, yn y fl. 1741. A gyfieithwyd i'r Gymraeg o'r 3ydd lyfr, o waith Mr. John Glass.

Argraffwyd yn Aberťawy, gan D. Evans.'

4. 'Agoriad i Athrawiaeth y Ddau Gyfammod: Dan yr Enwau Deddf a Gras. Yn dangos Natur pob un o honynt, pa beth ydynt fel ag y maent yn y ddau Gyfammod: hefyd, Pwy, a pha beth yw, Cyflyrau y rhai sydd dan bob un o honynt. Ym mha un er cynnorthwyo Dyall y Darllenydd, y mae amryw Holiadau yn cael eu hatteb, mewn perthynas i'r Ddeddf a Gras, tra hawdd eu darllain, ac mor anhawdd eu dyall, gan Feibion Doethineb, Plant yr Ail Gyfammod. Gan John Bunyan, Awdwr Taith y Pererin. Yr ail argraphiad,† wedi ei ddiwygio a'i wellhau.

Trefecca, Argraphwyd dros y Cyhoeddwr, M,DCC,LXXXI. (Pris Swllt).'

Y cyhoeddwr o'r argraffiad hwn ydoedd John Richard, o Fryniog, ger Llanrwst,‡ a'r hwn a ddywed mewn hysbysiad yn niwedd hwn, ei fod yn bwriadu cyhoeddi, mor fuan ag y caffai fil o ragdalwyr, y 'Mêr Difinyddiaeth Iachus,' a'r hyn hefyd, fel y gwelir, a wnaeth y flwyddyn nesaf.

5. 'Y Beibl Sanctaidd, gyda Sylwadau ar bob Pennod. Gan y Parch. Peter Williams, &c.

Caerfyrddin, Argraffwyd.'

Dyma yr ail argraffiad.§ Yr oedd yn cynnwys Salmau Cân Watts,‖ ac amseriad eu hargraffiad y flwyddyn flaenorol, sef 1780.

* Nid ydys wedi gweled y cyntaf.
† Gwel rhif 10, d.f. 1767.
‡ Gwel rhif 3, d.f. 1782.
§ Gwel rhif 1, d.f. 1770.
‖ [Ai nid Salmau *Edmwnt Prys* sydd yn yr argraffiad hwn, fel yn yr argraffiadau diweddarach?]

6. ¶ 'Y Catecism Byrraf, a gyflwynwyd gan Gymmanfa o Dduwinyddion Westminster i'r ddau dŷ o Barliament.

Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth gan J. Ross. Pris dwy geiniog, neu 12s. a 6d. y c.'

Yr oedd hwn yn ail argraffiad, o leiaf.*

7. 'Halsing, neu Gân newydd ar Ddydd Natolic. Gan John Williams, o St. Athan, ym Morganwg.

Pontfaen: Argraffwyd gan R. Thomas. 1781.'

[*Halsing* sydd air arferedig yn y Deheudir yn gyfystyr â *charol* (Nadolig) yng Ngwynedd. Byddai canu *halsingau* yn beth cyffredin iawn yn y parth hwnw o'r Dywysogaeth yn ystod y ganrif ddiweddaf. Llygriad yw *halsing* o *alsain*, yr hyn yw ei ffurf yng ngwaith ein hysgrifenwyr henaidd; megys

'Canu *alsain* mewn drain draw.'

WILIAM EGWAD, *i'r Eos.*

'Yr Eos gynt a ymfalchïwys yn ddirfawr herwydd ei pherlais, a phob edn a'i gwenieithai, ac a'i galwai "Elen y Glasgoed" a "Duwies y Dail," ac a roddynt iddi lawer iawn o druth-barch; a'r fwyalchen a ddaeth i'w charu, ac ef a eirluniwys ei serch iddi mewn *alseiniau* a charolau melusgainc.'—*Ysgriflyfrau Iolo*, 175.]

8. 'Marwnad, ar farwolaeth Mrs. Grace Price, anwyl wraig y Capten Price, o Waterford,† yn sir Forganwg: yr hon a ymadawodd â'r byd, yr 16eg o Dachwedd, 1780, yn y 37 flwydd o'i hoed. Wedi bod yn briod â Mr. Price 12 mlynedd. &c., &c. Yr ail argraffiad.‡

Aberhonddu, Argraffwyd dros yr awdwr gan E. Evans, 1781.'

9. 'Cyssuron Dwyfol; neu Addewidion Gwerthfawr; er Annogaeth i Gredinwyr; gyda Gair o Gynghor. Wedi ei gyfieithu o'r Saesonaeg, er budd i'r Cymru.

Mwythig: Argraphwyd gan T. Wood, lle gellir cael argraphu pob math o lyfrau Cymraeg, wedi eu diwigio yn ofalus, ac am bris gweddaidd. M,DCC,LXXXI.' (Prîs Ceiniog yr un.)'

10. 'Atteb i Bob Dyn a ofynno Reswm am y Gobaith sydd ynom. Mewn ffordd o Holiad ac Atteb. Gan Joseph Humphreys. Gyd â Rhagymadrodd canmoliaethol gan Parch. Mr. Whitfield, yn ddiweddar Caplan i'r Anrhydeddusaf Iarlles Huntingdon.

Mwythig, Argraphwyd gan T. Wood, lle gellir cael argraphu pob math o Lyfrau Cymraeg wedi eu diwigio yn ofalus, ac ar brîs gweddaidd. M,DCC,LXXXI.' '[Prîs Ceiniog yn unig].'

JOSEPH HUMPHREYS oedd un o'r pregethwyr lleygol cyntaf a gynnorthwyodd Mr. Wesley yn 1738. Wedi hyny ef a droes yn Galfin-

* Gwel rhif 2 a 3, d.f. 1766.

† [Watfford?]

‡ Gwel rhif 11, d.f. 1580.

iad, ymunodd â Mr. Whitfield, ac ysgrifenodd yn erbyn y ddau Wesley yn y papyrau newyddion. Ym mhen peth amser, efe a adawodd Mr. Whitfield, ac a ordeiniwyd yn weinidog Presbyteraidd. O'r diwedd efe a ordeiniwyd gan esgob yn weinidog yr Eglwys Sefydledig. Yna efe a ddirmygai grefydd y galon, a phan adgofid ef o'i brofiad, yr hwn a gyhoeddasai—ei fod wedi ei berffeithio mewn cariad, a pharhau felly dros ddeuddeg mis, o leiaf—efe a atebai, 'Dyna un o'r pethau ffol a ysgrifenais yn amser fy ngwallgofrwydd.'* Y mae ei enw yn un o'r pregethwyr di-urddau oedd yn y Gymdeithasfa gyntaf a gynnaliwyd yng Nghymru, sef yn Watfford, yn sir Forganwg, yn 1743; ac aelod o'r bwrdd sylfaenol.†

[Llyfryn bach o 16 tudalen 12plyg ydyw y llyfryn. Ar y tudalen olaf ceir yr hysbysiad canlynol:—'Gan T. Wood, Gwerthwr Llyfrau yn y Mwythig, y gallir cael argraphu pob math o lyfrau yn gywraint, a chopiau Cymraeg wedi eu diwigio yn ofalus gan *Ifan Tomas*, cyssodydd a diwigydd yr argraphiad cyntaf o'r Bibl Cymraeg yng *Nghaerfyrddin*, yr hwn sydd yn awr yn byw gyd a *T. Wood.*']

11. ¶ 'Difrifol Fyfyrdod am Farwolaeth, sef y Pummed Llythyr Ystyriol am Wellhad Buchedd y daearol Bererindod; cyn dyfod Cennad Pechod i'n cyrchu i'r Byd anweledig o Olwg cnawdol. A fyfyriwyd gan Ellis Roberts, Prydydd o Landdoged. Y Trydydd Argraphiad.

Aberhonddu, Argraphwyd gan E. Evans, dros Hugh Williams. 178—.'‡

12. 'Wele y Chweched Llythyr, ar ddull Pregeth, y testun a gymerwyd o Luc xv. 18, 19. O waith Ellis Roberts, Cowper, Llanddoged.

Aberhonddu, Argraphwyd gan E. Evans, dros Hugh Williams. 1781.'§

13. 'Drych y Flwyddyn 1781.

Dublin: Printed in the year M,DCC,LXXXI.'

Un o almanaciau cyntaf John Roberts yw hwn, tybygid. Mewn rhai copïau dywedir iddo gael ei argraffu tros H. Owen.

14. 'Memoirs of the Gwydyr Family, &c. By Sir John Wynne.

London. 1781.'‖ 4to.

Yn y *Barrington Miscellanies* y mae hwn.

15. 'A Gentleman's Tour through Monmouthshire and Wales, in the month of June and July, 1774. A new Edition.** To which is

* Wesley's *Journal*, Sept. 9, 1790; Atmore's *Methodist Memorial*, p. 202-3.
† *Methodistiaeth Cymru*, cyf. i. t. 162.
‡ Y llythyren [y rhifnod] yn anamlwg yn y cyfargraff; gwel rhif 1, d.f. 1780.
§ Gweler rhif 1, d.f. 1780; a rhif 11, uchod.
‖ Gwel rhif 13, d.f. 1773; *Cylchgrawn*, t. 87.
** Gwel rhif 12, d.f. 1780.

added, an Account of a Journey into Wales. By George, Lord Lyttleton.

London: printed for T. Evans. M,DCC,LXXXI.'

Yr awdwr ydoedd Mr. Penruddock, a'r golygydd ydoedd H. Wyndham.* Yr oedd y llyfr yn werth 3*p*. 13*s*. 6*c*., wedi ei rwymo yn dda.

16. 'Llun Agrippa. Y Cristion o fewn Ychydig, wedi ei Ddadguddio: Neu'r Gau Broffeswr wedi ei chwilio a'i Holi, yn cael ei fwrw ymaith. Gan Mathew Mead. Y drydydd argraphiad.†

Trefecca: M,DCC,LXXXI.' [12plyg: 152 tudalen.]

17. 'Llythyr y Gymmanfa, a gynhaliwyd yn Llangloffan, yn y flwyddyn 1781.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Ross, yn Heol Awst.'

18. 'Two Sermons, First, of the Creatures going into Noah's Ark, typically Representing the Salvation of God's elect Church in and by Jesus Christ. Second, of the Creatures going out of the Ark to Mount Ararat, Typically representing the Removal of the Church Militant out of the state of Grace into the State of Glory. To which is added, some Brief Heads upon Joel ii. 7, 8, 9. And Nahum iii. 15, 16, 17. Of God Nature and Knowledge of the manner and motion of the meanest and worst of his Creatures. By Edmund Jones, Minister of the Gospel.

Printed in the Year 1781.'

19. 'Ymddiddan rhwng Hen Wr Dall a'r Angau; Lle dangosir Dechreuad Angau, ynghyd a'r Buddugoliaethau a ynnillodd ar Ddynolryw trwy Gymmorth Pechod, a'r Buddugoliaeth yn y Frwydr fawr ar Fynydd Calfaria, gan Iesu Grist: yn cynnwys amryw Wirioneddau pwysfawr ac angenrheidiol i bawb ag y sydd i wynebu Angau i'w deall a'u profi. Gan Henry Evans, o'r Bedwellty.

Aberhonddu, Argraphwyd ac ar werth, gan E. Evans, 1781.'

20. 'British Harmony, being a Collection of Ancient Welsh Airs, the traditional remains of those originally sung by the Bards of Wales. Part III. By John Parry.'‡

21. 'Rhai Hymnau Newyddion, ar Fesurau Newyddion: a gyfan-

* [Dan rif 22, yn y blaen, dywedir mai yr awdwr ydoedd Henry *Penruddocke Wyndham.*

† Gwel rhif 1, d.f. 1723; a rhif 5, d.f. 1779.

‡ Gwel rhif 7 a 8, d.f. 1742.

soddwyd ar gais cynnulleidfaoedd Sir Aberteifi a Sir Gaerfyrddin. Gan W. Williams.

Argraffwyd yn Aberhonddu, gan E. Evans. 1781.'*

22. 'A Tour Through Monmouthshire and Wales, made in the Months of June, and July, 1774. And in the Months of June, July, and August, 1777. By Henry Penruddocke Wyndham. The Second Edition.

Salisbury: Printed and Sold by E. Easton. MDCCLXXXI.'

23. 'Y Dinasoedd Noddfa wedi eu priodoli i Grist. oddi wrth Heb. vi. 18, 19. Mewn Llythyr at Gymdeithas Grefyddol. Gan H. Philips, yn Sarum. Wedi ei gyfiaithu i'r Cymraeg allan o'r trydydd Argraphiad yn Saisonaeg er lles i'r Cymru.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan [dalen wedi tori] MDCCLXXXI.'

Er bod y llyfr hwn wedi ei gyfansoddi yn Seisonaeg, a'i gyfieithu gan ryw law anadnabyddus, yr oedd yr awdwr yn Gymro, ac yn deall yr iaith Gymraeg, fel ag i roddi barn gymmeradwyol ar y cyfieithiad; canys y mae wedi chwanegu a ganlyn yn niwedd hwn:—'P.S. 'Rwyf gwedi edrych yn fanol dros y llythyr hwn, ac nid wyf yn gweled achos i gablu na beio'r cyfieithiad. 'Rwyf yn diolch i'r cyfieithwr,

*Sarum*, Gorphenhaf, 17, 1781. H. PHILIPS.'

24. 'Dwy o Gerddi Newyddion, &c.

Trefriw, Argraphwyd gan Dafydd Jones. 1781.'

Gwaith 'Ellis y Cowper' ydynt.

25. 'Journey to Snowdon. By Thomas Pennant. 1781.'

## 1782.

1. 'Tri o Ymddiddanion rhwng Gweinidog ac Un o'i blwyfolion: ar Gywir Egwyddorion Crefydd, ac Iechydwriaeth i Bechaduriaid drwy Iesu Grist, yr unig Waredwr ac Iachawdwr. Gan y Parchedig Thos. Vivian, A.B., Ficar Cornwood, Defon; yn ddiweddar o Goleg Exeter, yn Rhydychain. A Gyfieithwyd i'r Cymraeg allan o'r Pedwerydd Argraphiad ar ddeg yn Saisonaeg, Gan y Parchedig W. Williams, A.B. Curat Caergybi.

Mwythig, Argraphwyd gan T. Wood, lle gellir cael argraphn pob math o lyfrau Cymraeg wedi eu diwigio yn ofalus gan Ifan Tomas. M,DCC,LXXXII.'

* ['Cynnwysa hwn yr hymnau 811 hyd 828 yn argraffiad 1811. 12 tudalen ydoedd. Gwelwn fod Williams yn cael ei annog gan yr eglwysi i gyfansoddi hymnau, yn unol â'r ddiareb, "Melus, moes eto."'—M.D.]

2. 'Cydymaith mewn Cystudd; neu Hyfforddiwr trwy ddyffryn marwolaeth. O gasgliad Peter Williams, gweinidog yr efengyl.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Joan Ross. M,DCC,LXXXII.'

3. 'Bywyd a Marwolaeth yr Annuwiol dan enw Mr. Drygddyn, Wedi ei Annerch i'r Byd mewn Ymddiddan cyfeillgar Rhwng, Mr. Doethineb a Mr. Ystyriol. Gan Joan Bunyan, Awdwr Taith y Pererin. Wedi ei Gyfieuthu i'r Gymraeg gan T. Lewys o'r Pedwarydd Argraphiad yn y Saessnaeg. At yr hyn y Chwanegwyd Bywyd a Marwolaeth Joan Bunyan Yn dangos am ei Enedigaeth, ei Ddygiad i fynu a'i Fuchedd ddrygionus yn ei Ieuengctyd y Moddion tan ba rai y cafodd ei Droedigaeth; ei Waith, ei Ddioddefiadau, ei Demptasiynau, o holl Helynt ei Fywyd hyd ei Ymadawiad or Byd hwn.

Lerpwl: Argraphwyd gan C. Wosencroft, yn Cook-Street. M,DCC,LXXXII.' [12plyg: 214 tudalen.*]

Yr oedd hwn yn ail argraffiad.† Dywedid mai cyhoeddwr yr argraffiad hwn ydoedd

JOHN PRICHARD, o'r Bryniog Uchaf, ger Llanrwst, yr hwn oedd wr o'r Deheudir, a'r hwn a ddaethai i'r gymmydogaeth hòno i arolygu Ysgolion Rhad Madam Bevan, a phriododd weddw John Prichard, o'r Bryniog, yr hwn oedd gynghorwr Methodistaidd. Yr oedd yr ail John Prichard hwn yn gynghorwr neu bregethwr hefyd. Symmudodd i Ruddlan cyn diwedd ei oes, a bu farw mewn oedran teg, yn 1812.‡

4. 'Afalau Aur i Bobl Ifaingc; a choron gogoniant i hen Bobl: neu'r Dedwyddwch o fod yn dda yn Amserol, a'r Anrhydedd o fod hen Ddisgybl. Hefyd, Gwrth-ddadleuon y Gwr ifangc wedi eu dattod. Gan T. Brooks, Gynt Gweinidog yr Efengyl yn Llundain. Yr Ail Argraphiad yn Gymraeg.§

Mwythig, Argraphwyd gan T. Wood, lle gellir cael argraphu pob math o Lyfrau Cymraeg wedi eu diwigio yn ofalus gan Ifan Tomas. 1782.'

* [Y mae ar ddiwedd y llyfr (t. 215, malpai) yr hysbysiad canlynol, yr hwn a hynodir gan ei wahannodiaeth a manylion ereill:—'Bydded Hyspys i'r Cyffredin. Fod-amryw yn ein cymmell, i argraphu'r llyfr gwerthfawr hwnnw, a elwir, marw i'r ddeddf: cyn gynted ac y caffom fil o enway. Arglwydd a fendithio, bob moddion, a breintiau, er mwyn chwanegu gwybodaeth browfiadol, a chadwedigol, o hono ei han; yn ein plith: yr hyn yw taer ddeisyfiad eich annhelawng wasanaethwyr. *John Thomas*, ac *Owen Jones*.']

† Gwel rhif 5, d.f. 1731. [Ymddengys mai hwn ydoedd y llyfr Cymraeg cyntaf a argraffwyd yn Lerpwl neu Lynlleifiad.]

‡ *Drych yr Amseroedd*, t, 179; Coflyfr Eglwys Plwyf Rhuddlan.

§ Gwel rhif 4, d.f. 1732.

Y mae iddo 'Gyflwyniad' at ei 'Gydwladwyr,' gan 'Hugh Jones, gynt o Faes-Glasau,' a 'Rhagymadrodd: neu, Lythyr Annerch i'r Cymry,' gan 'Evan Williams,' ac yn ei ddiwedd, 'Cyffes y Cyhoeddwr,' 'Hugh Jones,' lle y dywed mai 'Gweinidog ieuangc o Eglwys Loegr' ydoedd y dywededig 'Evan Williams;' a dywed hefyd ei fod yn bwriadu cyhoeddi yr 'Enw yn y Nefoedd,' gan M. Mead.*

5. 'Annerch ir Cymru, iw galw oddiwrth y llawer o bethau at yr un peth angenrheidiol er mwyn cadwedigaeth eu heneidiau. Yn enwedig at y Tlodion annysgedig, sef y Crefftwyr, Llafurwyr a Bugeiliaid, y rhai o isel radd, o'm Cyffelyb fy hunan, Hyn er eich Cyfarwyddo i adnabod Duw a Christ, (yr hyn yw bywyd tragwyddol) yr hwn sydd yn Dduw unig ddoeth. A Dyscu ganddo ef, fel y deloch yn ddoethach nach Athrawon. O Waith Ellis Pugh.

Llundain: Argraphedig yn gan James Phillips, M.DCC.LXXXII.' [12plyg bychan.]

Ellis Pugh ydoedd Grynwr, o ymyl Dolgellau, a aethai dros Fôr y Werydd i Philadelphia.

[Yn ol 'Hanes yr Awdwr,' o flaen yr 'Annerch,' 'Elis Pugh a anwyd ym mhlwyf Dolgellau, yn sir Feirionydd, yng Nghymru, yn y chweched mis [sef yw hwnw, Mehefin], yn y flwyddyn 1656.' Gwedi ei droi at Grynyddiaeth, hwyliodd ef a'i deulu, yng nghyd ag amryw o'u cydnabyddiaeth, yn 1686, dros yr Atlantig tua Thaleithiau Cyfunol America, gan fwriadu ymsefydlu ym Mhennsilvania, lle, ychydig cyn hyny, y planasid brodoriaeth Grynyddol gan Wilym Penn: ond yn lle cyrhaedd yno, buont ar y môr y rhan fwyaf o'r gauaf, a gyrwyd hwynt gan y tymmestloedd i Ynys Barbadoes, yn yr India Orllewinol, lle y tiriasant yn Ionawr, 1687. Yr haf canlynol cychwynasant oddi yno, a chyrhaeddasant Pennsilvania. Gwedi aros yno hyd 1706, hwyliodd Elis Pugh i ymweled â gwlad ei enedigaeth, a dychwelodd i America yn 1708, lle yr arosodd am y gweddill o'i oes, yr hon a derfynodd ar y 3ydd o Hydref, 1718. Am ei nodweddiad, dywedir yn yr un hyw 'Hanes:'—'Yr oedd ei ymddygiad yn ei deulu, yn ei gymmydogaeth, ac yn yr eglwys, yn addfwyn, yn hawddgar, ac yn heddychol, a'i weinidogaeth yn fywiol, yn llesol, ac er adeiladaeth.' Cynnwys y llyfr ddeg o bennodau, a 212 o dudalenau. Cyfieithwyd y gwaith i'r Seisoneg (yn hir cyn ei argraffu yn Gymraeg) gan un R. Ellis; ac ymddangosodd ail argraffiad o'r cyfryw gyfieithiad, wedi ei ddiwygio gan D. Llwyd, yn 1739, Llundain, 12plyg. Ymddangosodd argraffiad newydd a chywir o'r gwaith Cymreig yn Llundain, mewn cyfrolan 16plyg, yn 1801.]

Cyhoeddwyd argraffiad arall yn 1802,† a chan yr un argraffydd, James Phillips, am yr hwn y dywedir, 'Y mae yn hen lanc difrifol, gwylaidd, a dywedir ei fod wedi ymbriodi â bywyd sengl, am yr hyn y mae yn rhyfedd genyf, canys, diammheu fod natur wedi ei fwriadu ef i fod yn orchfygwr calonau, pan y rhoddodd iddo y fath synwyr, a'r fath dduwioldeb. Y mae iddo fyw cyhyd yn hen lanc yn dangos ei natur bur, a'i fod yn caru marweiddiad ynddo ei hun yn gystal ag yn ereill. A phwy bynag a ystyrio y cynnifer cynnygion a gafodd i briodi, a fyddant yn barod i feddwl ei fod yn meddu cymmaint o ddiweirdeb ag i brin bechu mewn dymuniad.'‡

* Gwel rhif 3, d.f. 1789.

† [Ymddengys mai argraffiad 1801, y sonir am dano uchod, yw yr un a olygir.]

‡ Dunton.

6. 'Dwy Bregeth; y gyntaf, am y creaduriaid yn myned i mewn i Arch Noah, &c.; yr ail, am y creaduriaid yn myned allan o'r Arch i fynydd Ararat, &c. Gan Edmund Jones, Gweinidog yr Efengyl.

Trefecca; Argraphwyd yn y Flwyddyn 1782.'

7. ¶ 'Gwrthodedigaeth yn Brofedig: Neu'r Athrawiaeth o Etholedigaeth Tragwyddol, a Gwrthodedigaeth, wedi eu cyd-ystyried mewn Unarddeg o Ddosparthiadau. Lle y gwrthbrofir y Dadleuon a arferir gan Wrthwynebwyr yr Athrawiaeth hon, y symmudir amryw Amheuon, ac y penderfynir llawer o Ymofynion Cydwybod. Gan y duwiol a'r enwog Was hwnnw o eiddo Crist, y Parchedig Mr. John Bunyan. Wedi ei Gymreigio yn ofalus, o'r Argraphiad diweddaf yn Saesonaeg Gan John Thomas.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Daniel, yn Heol y Brenin. [Pris Chwe'-cheiniog.]'

Y mae yn ei ddiwedd ddau dudalen o farddoniaeth, o dan yr enw 'Ystori, neu Ddammeg, Yr Emprwr o Judea a'i Ferch. Gan Dafydd Wiliam.' Hysbysir hefyd a ganlyn:—

'N.B. Y mae Llyfr arall o Waith Mr. Bunyan yn llaw'r Cyfieithydd, a elwir, *Y Ty yng Nghoedwig Lebanon;* ac a roddir yn y Wasg mor fuan ag y bo'r Copi'n barod.' Ond nid ydys yn gwybod iddo gael ei gyhoeddi yn y ganrif hon.*

8. ¶ 'Crist yn Iachawdwr Cyflawn, &c. Gan John Bunyan. At ba un y chwanegwyd Nodau Profiadol ac Ymarferol, Gan Wm. Mason ac eraill, wedi eu Gymreigio gan y Parch. John Thomas.

Argraffwyd yng Nghaerfyrddin, gan John Daniel.

9. ¶ 'Llwybrau Nefolaidd, &c. A gasglwyd o Lyfr a argraffwyd yn y flwyddyn 1664, fel yr ymddengys trwy gymmeradwyaeth Dr. J. Hall. Wedi ei droi i'r Cymraeg gan J. Davies.

Argraffwyd yng Nghaerfyrddin, gan J. Daniel.'

Yr ydys yn tueddu i briodoli cyfieithiad y llyfr uchod—o ddiffyg gwybodaeth sicrach—i naill ai J. Davies, gweinidog Llwyn Rhyd Owain, yn sir Aberteifi, ai J. Davies, gweinidog yr Allt Wen, yn sir Forganwg. Y Dr. J. Hall ydoedd benaeth Coleg Penfro, Rhydychain, ac wedi hyny esgob Bristol.†

* [Daeth argraffiad 16plyg o hono allan o wasg Merthyr Tydfil yn y fl. 1835; ond ni fynegir yn hwnw pa un ai argraffiad cyssefin ai adargraffiad ydyw. Cynnwysa 110 o dudalenau.]

† Wood's *Athen. Oxon.* vol. ii. p. 801.

10. 'Gorfoleddd ym Mhebyll Seion, neu ychydig o Hymnau Efengylaidd a gyfansoddwyd gan Dafydd Wiliam. Argraphwyd gynt yn bedair rhan,* ond yn awr a argraphwyd yn un llyfr.

Aberhonddu, Argraphwyd tros yr awdwr gan E. Evans, 1782. (Pris tair geiniog.)'

11. 'Mer Difinyddiaeth Iachus. Neu Bortreiad o'r Cyfammod Gras a'r Cyfammod Gweithredoedd, Ynghyd â Defnydd a Diben pob un o'r Ddau dan Oruchwyliaeth yr Hen Destament a'r Newydd: lle y ceir Eglur Ddarluniad o'r Ffordd i Fywyd Tragywyddol trwy Iesu Grist. Mewn Dull o Ymddiddan rhwng *Efangelista*, Gweinidog yr Efengyl. *Nomista*, Gwr yn dal yn rhy bell o Ochor y Ddeddf. *Antinomista*, Gwrthwynebwr y Ddeddf. *Neophitus*, Cristion Ieuangc. Gan Edward Fisher. A.C. Y Trydydd Argraphiad,† wedi ei Ddiwygio a'i Gŷd-gymmharu â'r Saes'neg.

Trefecca; Argraphwyd, dros y Cyhoeddwr. 1782. (Pris Swllt.)' [12plyg: 172+8=180 tudalen.]

Dywedir mai John Prichard, Bryniog Uchaf, ger Llanrwst, oedd cyhoeddydd hwn.

12. 'Gair yn ei Amser: neu Lythyr-annerch i'r cyffredin Gymry, &c. A ysgrifenwyd er tawelu, llonyddu, a gostegu y cwynfanau sydd ym mhlith y Cymry yn y dyddiau helbulus hyn; a'u cyfarwyddo at yr iawn amddiffynfa yn nydd trallod. Gan Hugh Jones, awdwr y Myfyrdodau ar Dymhorau'r Flwyddyn, &c.

Mwythig, Argraphwyd gan T. Wood; lle y gellir cael argraphu pob math o Lyfrau Cymraeg wedi eu diwigio yn ofalus gan Ifan Tomas. 1782. Pris dwy geiniog.'

13. 'Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, yn y flwyddyn 1782.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Ross, yn Heol-Awst.'

14. 'Telynau i Blant yr Addewid, i'w canu ar eu taith o'r Aipht i Ganaan nefol: neu ychydig o Hymnau efengylaidd, &c. A gyfansoddwyd gan Dafydd Williams.

Aberhonddu, Argraphwyd dros yr awdwr gan E. Evans. 1782.'

15. 'Rhai Hymnau newyddion, ar fesurau newyddion. Gan W. Williams. Yr ail argraphiad.‡

* Gwel rhif 3, d.f. 1777; a rhif 22 a 23, d.f. 1778.

† Gwel rhif 1, d.f. 1751; a rhif 1, d.f. 1754.

‡ Gwel rhif 7, d.f. 1757; a rhif 21, d.f. 1781. ['Mwy tebyg mai *ail ran* ydoedd, yn cynnwys yr hymnau 829 hyd 846; ond nis gallaf sicrhau, gan nas dygwyddodd i mi ei weled. Rhaid bod rhyw 12 tudalen, tebyg i'r cyntaf uchod, wedi eu rhoi allan gan yr Awdwr rhwng 1781 a 1787.'—Morris Davies.]

Aberhonddu, Argraphwyd gan E. Evans. 1782.'

16. 'Tystiolaeth o Ffydd ac Ymarferiad Eglwys Crist, yn Carter-Lane, Southwarc, yn Llundain; tan Ofal Gweinidogaethol Dr. John Gill: A ddarllenir ac a gydsynir â hi ar dderbyniad Aelodau. A gyfieithwyd, ac a gyhoeddwyd ar draul Dafydd Hughes o Lanelli, yn Sir Gaerfyrddin, ar ddymuniad amryw Ewyllyswyr da.

Aberhonddu, Argraphwyd gan E. Evans. 1782. [Pris Tair-ceiniog]. [12plyg: 36 tudalen.*]

17. 'Rhai Geiriau ar ddull Marwnad ar farwolaeth yr anwyl a'r ffyddlon frawd John Philip, O Lwyn-gyferthwch, ymhlwyf Llanelli. Ynghyd a rhai Hymnau newyddion.

Aberhonddu, Argraphwyd dros John Evans, a Thomas Dafydd, gan E. Evans. 1782.'

18. ¶ 'Marwnad, mewn perthynas i un Letice Nash, o Sir Benfro, yr hon a ymadawodd o'r Byd hwn Rhagfyr 4, 1781, yn llawn 60 oed. Ac at ba un y chwanegwyd Ychydig o ofyniadau.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Daniel, yn Heol y Brenin.'

19. 'Ychydig Lythyrau ar Ystyriaethau ac Achosion Ysprydol. Ynghyd â Hymnau am Dduwdod a Marwolaeth ein Iachawdwr. Gan Mr. Howel Harris.

Trefecca: Argraphwyd yn y Flwyddyn M,DCC,LXXXII.'

20. ¶ 'Dwy o Gerddi Newyddion.

Aberhonddu.'†

21. ¶ 'Post-Chaise Companion, or Traveller's Directory through England and Wales. By — Bowles. Two vols. 1782.'

22. 'Observations on the River Wye, and several parts of South Wales. By W. Gilpin. 1782.'

## 1783.

1. 'Y Testamentwr, neu Bregeth ar y 9 o Heb. a'r 16, 17. Gan y Parchedig Mr. J. Morgans, Ciwrat Llanberis, yn Sir Gaernarfon.

Trefriw, Argraphwyd gan Dafydd Jones. 1783.'

2. 'Ffordd anffaeledig i Foddlonrwydd, wedi ei Gymreigio gan y Parch. Peter Williams.

* [Ar y diwedd y mae 'Cân ynghylch Glanastra Cenfigen,' ac 'Ychydig Bennillion a gyfansoddwyd yn Saisonaeg gan Ferch foneddig ieuang, ychydig cyn ei hymadawiad â'r byd,' yng nghyd â'r cyfieithiad Cymreig o honynt.]

† *Ysgrif* Mr. B. Davies, Ysgolfeistr.

Caerfyrddin.'

3. 'Rhodd i'th Gymmydog; neu Iawn Adnabyddiaeth o Dduw, ac o honom ein Hunain; wedi ei Agoryd mewn Modd anlwg, buddiol, a phrofiadol. Gan Sir Richard Hill, Marchog. O gyfieithiad y Parch. Thomas Jones, Curat Loppington, yn sir y Mwythig.

Argraphwyd yn y Mwythig, gan T. Wood.'

Y cyfieithydd o'r traethodyn hwn o eiddo Syr Richard Hill, ac o'r hwn y rhoddwyd 3000 i'w dosbarthu gan Mr. Charles o'r Bala, ydoedd

THOMAS JONES, a anwyd yng Nghefn yr Esgair, yn agos i'r Hafod, yn sir Aberteifi, yn 1752, lle yr oedd ei dad yn amaethwr bychan. Cafodd ei ddysgeidiaeth dan ofal Edward Richard, yn Ystrad Meurig. Ordeiniwyd ef yn 1774, pan yn 22 oed, i wasanaethu plwyfau Llangynfelyn ac Eglwys Fach, yn sir Aberteifi, lle y bu hyd 1779, pan y cymmerodd guradiaeth Leintwardin, yn sir Henffordd, o'r lle y symmudodd yn 1780 i Longnor, yn sir y Mwythig, lle yr oedd yn gwasanaethu pedair o eglwysi am 40*p.*; ond symmudodd y flwyddyn nesaf i Groesoswallt; ond o blegid ei sel a'i bregethau efengylaidd, efe a daflwyd oddi yno yn 1782. Yna cafodd guradiaeth Loppington, ger Wem, yn yr un sir. Yn 1785, cafodd guradiaeth Creaton, yn sir Northampton, lle y bu yn gwasanaethu am ddeugain mlynedd, y 35 mlynedd cyntaf fel curad, a'r 5 mlynedd diweddaf fel person y fywoliaeth. Pan aeth yn rhy hen, rhoddodd y lle i fyny yn 1833. Bu farw Ionawr 7, 1845, yn 93 oed. Cyhoeddwyd llawer o'i weithiau yn Seisonaeg yn y ganrif hon, megys,—'Immanuel, or Scriptural Views of Jesus Christ,' yr hwn a gyfieithwyd i'r Cymraeg; 'National Gratitude Expressed;' 'Scriptural Directory;' 'The Welsh Looking-glass;' 'Jonah's Portrait;' 'The Fair Balance;' 'The Prodigal Pilgrimage,' cyhoeddwyd cyfieithiad o hono yn y *Gwyliedydd;* 'Family Prayers;' 'Twenty Six Sermons,' sef cyfieithiad o rai Cymraeg y Parch. M. Lloyd, Yspytty Ifan; 'The true Christian;' 'Sober Views of the Millenium;' 'The Interpreter;' 'An Essay on Infant Baptism;' 'The Christian Warrior;' 'An Essay on the Idolatry of Nations;' 'The Fountain of Life;' 'A Faithful Warning to Christian Congregations against the Oxford Heresy;'* cyfieithodd hefyd 'Christian World Unmasked,' o waith Berridge, yr hwn a gyhoeddwyd yn y *Drysorfa Ysbrydol,* o dan yr enw 'Ymddyddanion ynghylch Ffordd y Bywyd, rhwng Odegos a Thuphlos,' yn lle 'Doctor and Farmer.' Cyfieithiad o'i eiddo ef yw pregeth Scott ar farwolaeth Thornton. Cyhoeddwyd hefyd, yn Seisonaeg bigion o'i bregethau o dan yr enw 'Basket of Fragments,' y rhai a ysgrifenwyd gan foneddiges ag a arferai eistedd o dan ei weinidogaeth. Yr oeddynt yn boblogaidd iawn ym mhlith ei ymlynwyr yn yn yr oes hono.†

* *Memoir,* by the Rev. J. Owen, of Thrussington; Williams's *Eminent Welshmen.*

† [Cyhoeddodd wyth neu naw o wahanol lyfrau yn y Gymraeg, ac yn eu plith, 'Tragwyddol Orphwysfa'r Saint,' o waith Baxter.]

4. ¶ 'Ystyriaethau ar ddull Pregeth, gan y Parch. Wm. Hughes, Person Llanfihangel-glyn-y-Myfyr.

Caerlleon, argraffwyd gan Thomas Huxley; a anwyd yn Llanelwy, a'r unig argraffydd yn y parthau hyn sydd yn deall yr iaith Gymraeg.'

5. ¶ 'Diferyn dewisol o Fel o'r Graig Crist.

Caerlleon, argraffwyd gan T. Huxley.'

Gellir ystyried hwn fel y trydydd argraffiad o'r traethodyn efengylaidd uchod o waith T. Wilcocs,* er nad yn benderfynol pa un ai yn y lle uchod, ai ynte cyn y flwyddyn 1765, y dylasai y *ddau* lyfr uchod fod.† Bu T. Huxley a W. Read yn gyfranogion rhwng y flwyddyn 1765 a 1783; ond argraffwyd y rhai uchod gan Huxley ei hunan, heb Read. Ymddengys i'r cyssylltiad rhyngddynt ddiweddu, ac nad oedd Read yn Gymro, ac i'r dyben i dynu ato ei hun y gwaith Cymreig y darfu i Huxley weled yn briodol hysbysu am dano ei hun, ei fod yr 'unig argraffydd yn y parthau hyn ag sydd yn deall yr iaith Gymraeg,' rhag i'r Cymry o dan y gochl o wybyddiaeth o'r hen gyfranogaeth â Read, roddi eu llyfrau i'w hargraffu i'r Sais hwnw, yn lle iddo ef, ac yntau yn Gymro, 'a anwyd yn Llanelwy.' Yr ydys, er hyny, yn ei chael yn lled anhawdd cyssoni yr ymffrost uchod â ffeithiau ereill. Yr oedd Dafydd Jones yn Nhrefriw, ac Ifan Tomas yn y Mwythig. Nid oedd yr olaf ond blaenor yn swyddfa Wood; ac nid oedd Dafydd Jones wedi ei ddwyn i fyny i'r gelfyddyd, eithr yn cadw swyddfa fechan, trwy gyflogi gweithwyr; os felly, yr oedd ystyr gywir i ymffrost Huxley.

6. 'Hanes Daeargryn ofnadwy a Ddigwyddodd yn Itali, ac a barhaodd lawer o Ddyddiau, ym Mis Chwefror diweddaf, ne's Llyngcu Dinas Messina, a llawer o Wledydd a Threfydd poblog: ym mha Ddistryw fe gollwyd gerllaw Deugain Mil o Drigolion. Gyda Marwnad ar yr Achos. Gan Weinidog o Eglwys Loegr.

Mwythig, Argraphwyd gan T. Wood. 1783.'

Cyhoeddwr hwn oedd Hugh Jones, o Faes Glasau, a'i bris oedd chwecheiniog.

7. 'Gogoniant Enw Duw yn Iesu Grist, Wedi ei osod allan mewn deuddeg Pregeth ar Ecsod. xxiii. 21. Gan y Parch. Mr. Ebenezer Erscin, Gweinidog yr Efengyl yn Sterling yn Scotland. Newydd ei gyhoeddi yn Gymraeg gan Dafydd Hughes o gerllaw Llanelli; yn sir Gaerfyrddln.

Argraffwyd yn y Bontfaen gan Rhys Tomas. Lle y gellir cael argraffu a rhwymo pob rhyw lyfrau, 1787.'‡

* Gwel rhif 12, d.f. 1740; rhif 7, d.f. 1778; a hwn yma.

† [Y mae yn bur debyg mai rhif 31, d.f. 1764 ydyw yr argraffiad hwn. Nid oes dadl am gywir ddyddiad hwnw; canys y mae ar ei gynddalen.]

‡ [Felly yn y gynysgrif; ond ymddengys mai 1783 o olygir.]

8. 'Y Cwestiwn Mawr; sef, Pa fodd y myn Duw gadw dyn. Wedi ei egluro mewn pregeth, ar Phil. ii. 12, 13, &c. Gan E. Griffith, G.E.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Ross. 1783.' 24 tudalen 12plyg.

9. 'Rhybydd i Bechaduriaid, neu Hanes rhyfeddol am un Samuel Whilby, yr hwn a syrthiodd mewn Gweledigaeth ar y 15 dŷdd o Ebrill, 1756; Wedi ei gyfieithu yn Gymraeg ga un a chwenyche lesâd i lawer.

Trefriw, Argraffwyd gan Dafydd Jones, 1783.'

10. 'Enterlute Newydd ar ddull Ymddiddan rhwng Protestant a Neillduwr. Gan Hugh Jones o Langwm.'

11. 'Llythyr y Gymmanfa, at yr Eglwysi, yn y Flwyddyn 1783.

Caerfyrddin; Argraphwyd gan J. Ross, yn Heol-Awst, Lle y mae pob math o lyfrau ar werth.'

12. 'Marwnad Elizabeth James, Casnewyddarwysg, Sir Fynwe. Gan Dafydd Wiliam.

Aberhonddu, Argraphwyd gan E. Evans.'

13. 'Hyfryd Goffadwriaeth y Cyfiawn, neu Farwnad i un Richard Jones, mab i Mr. John Jones, o'r Homri, o blwyf St. Nicholas, yn sir Forganwg, a gyfansoddwyd gan Dafydd Wiliam.

Trevecca, Argraffwyd tros yr Awdwr, yn y flwyddyn M.DCC.LXXXIII.'

14. 'Y Catecism Byrraf. A gyflwynwyd gan y Gymmanfa o Ddifinyddion yn Westminster, i'r Ddau Dŷ o Barliament, a chwedi ei gymmeradwyo ganddynt. Yn cynnwys Egwyddorion y Grefydd Gristionogol, ynghyd a Phrofiadau ysgrythyrol. Yr Ail Argraphiad.*

Caerfyrddin; Argraphwyd ac ar werth gan I. Ross. 1783.'

15. 'A Tour in Wales. MDCCLXX. Vol. II.

London, Printed by Henry Hughes. MDCCLXXXIII.'

Teithiau Pennant ydyw.

16. 'Afalau Aur i Bobl Ifeingc; a Choron Gogoniant i Hen Bobl; Neu'r Dedwyddwch o fod yn dda yn Amserol, a'r Anrhydedd o fod yn hen Ddisgybl. Hefyd, Gwrth-ddadleuon y Gwr ifangc wedi eu hatteb; ac Amheuon yr hen Wr wedi eu dattod. Gan T:

* Dylasai hwn fod yn drydydd argraffiad, o leiaf. Gwel rhif 23, d.f. 1766; rhif 6, d.f. 1781; a hwn yma.

Brooks; Gynt Gweinidog yr Efengyl yn Llundain. Gyd â Rhagymadrodd gan y Parch. E. Williams. Y Trydydd Argraphiad yn Gymraeg.*

Mwythig, Argraphwyd gan T: Wood, lle y gellir cael argraphu pob math o Lyfrau Cymraeg wedi eu diwigio yn ofalus, gan Ifan Tomas. 1783.'

Y mae iddo ragymadrodd gan E. W. (=E. Williams), ac olymadrodd gan y cyhoeddwr, 'H. J.,' neu Hugh Jones, Maes Glasau.

17. 'Two Sermons on Ezekiel xxxiii. 11. The First Containing an earnest Exhortation to Repentance ; or A pressing Invitation to return unto God. The Second Asserting, and by reasons fairly deduced from plain Scripture evincing, that God has not, by arbitrary Decree, predestin'd any one to inevitable Ruin and Eternal Death, &c., &c. By the Rev. John Walters, Rector of Landough, Glamorganshire. And, Translated from Ancient British† By the Rev. E. Owen, Curate of Studley in Warwick-Shire.

Cowbridge, Printed by R. Thomas. 1783.'

18. 'Marwnad ar Farwolaeth Llywelyn Dafydd o Blwyf Trecastell, yn Sir Frecheiniog, a ymadawodd â'r Byd yr 20 o Fis Mawrth, 1783. Gan David Morris.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Ross. M,DCC,LXXXIII.'

19. 'Llyfr Gweddi Gyffredin, a Gweinidogaeth y Sacramentau, a Chynneddfau a Seremoniau eraill yr Eglwys, yn ol Arfer Eglwys Loegr: Ynghyd â'r Sallwyr, neu Salmau Dafydd, Wedi eu nodi megis ac y maent i'w canu neu i'w dywedyd mewn Eglwysydd.

Argraphwyd yng Ngwrecsam, ac ar werth yno gan R. Marsh, Gwerthwr Llyfrau, 1783.'

20. 'Y Llyfr Plygain. Yn cynwys llawer o Weddiau Duwiol. Ar amryw Achosion. At yr hyn y chwanegwyd . . . er hyffordd Athrawiaeth i ddysgu darllain Cymraeg, A'r cwbl mewn gwell trefn nac erioed o'er blaen.

Argraphwyd Ynghaerlleon gan P. Broster. Yn y Flwyddyn, 1783.'

Llyfr bychan ydyw o 204 o dudalenau 48plyg.‡ Y mae yn ei ragflaenu 'At y Darllenydd' byr o un ddalen; ac yn ei ddiwedd

* Gwel rhif 5, d.f. 1732 ; rhif 4, d.f. 1782 ; a hwn yma.

† Gwel y wreiddiol Gymreig, rhif 10, d.f. 1772.

‡ [Tebycach mai 24plyg ydoedd. Byddai 48plyg o'r papyr arferedig yn yr oes dan sylw yn fychanig dros ben.]

restr o lyfrau a nwyddau oedd ar werth gan yr argraffydd, o dan arlun bychan.

21. ¶ 'Copi o Lythyr yr hwn a gafwyd dan Garreg, ym mha un y mae amryw Gynghorion da, a buddiol; Eithr yn fwya enwedigol ynghylch cadw y Sabbath.

Argraphwyd Ynghaerlleon gan T. Huxley.'

22. 'Dwy o Gerddi Newyddion.

Trefriw Argraphwyd gan Dafydd Jones. 1783.'

23. ¶ 'Amryw Salmau a Hymnau Profiadol, perthynol i Addoliad Eglwysig a Theuluaidd. A gasglwyd allan o Waith yr Awdwyr hynottaf yn yr oes bresennol, er cynnorthwy i'r sawl a foliannant yr Arglwydd. Gan J. Griffith, Gweinidog yr Efengyl.

Argraffwyd yn y Mwythig; ac ar werth yno gan J. Edowes, gan J. Ross, Ynghaerfyrddin, W. North, yn Aberhonddu, a R. Marsh, Yngwrecsam.'

24. 'The Practical Influence of Christianity on believing minds: considered in a Discourse on 1 Thessalonians, ii. 13. By Solomon Harries.

Shrewsbury: Printed by J. Eddowes; and Sold by J. Buckland and T. Longman, Paternoster-Row, London: T. Goodere and Co. Swansea: M. Rhyddero and J. Ross, Carmarthen: and W. North, Brecon; 1783: [Price 6d].'

## 1784.

1. 'Llythyr o Gyngor Difrifol oddiwrth Weinidog yr Efengyl at ŵr mewn cyflwr methiant afiachus. Gan y Parch. Mr. De Courcy. A gyfieithwyd gan Edward Barnes.

Mwythig, Argraffwyd gan J. Eddowes.'

EDWARD BARNES ydoedd fardd o Lanelwy.*

2. 'Speculum Terrarum & Cœlorum. Neu Ddrych y Ddaear a'r Ffurfafen, &c. Gan Mathew Williams, Land Surveyor.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Ross.'

3. 'Dull Priodas Ysbrydol, rhwng Siloh a Sion, yn dangos Tragywyddol Gariad Siloh Mab y Brenhin Alpha, at Ferch yr hen Amoriad: sef, Yr Ail Ran o'r Pererindod Ysbrydol o'r Aipht i Ganaan.† Gan yr un awdwr, sef Ioan Bunyan.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Ross.' M,DCC,LXXXIV.

* Gwel rhif 17, d.f. 1765.
† Gwel rhif 2, d.f. 1755.

4. 'Amser, a Diwedd Amser; Yn Ddau Draethawd: Y cyntaf ynghylch Prynnu'r Amser. Yr ail ynghylch Ystyried ein Diwedd. A osodwyd allan gyntaf yn Saesonaeg gan John Fox. Ac a gyfieithwyd yr awr hon i'r Gymraeg er daioni i'r Cymru.

Argraffwyd yng Ngwrecsam gan R. Marsh, Gwerthwr Llyfrau, 1784.'

Yr oedd hwn, ymddengys, yn drydydd argraffiad o'r uchod.*

5. 'Llythyr oddiwrth Dafydd ab Ioan, y Pererin, at Ioan ab Gwilym, y Prydydd; Yn rhoddi byrr hanes o fywyd a marwolaeth y Parchedig Mr. Christopher Basset, Athraw yn y Celfyddydau, o Aber Ddawen, yn Sir Forganwg.

Trefecca Argraffwyd, 1784.'

Y *Dafydd ab Ioan* hwn ydoedd y Parch. David Jones, Llangan; a *Ioan ab Gwilym* ydoedd Mr. John Williams, St. Athan, Morganwg, yr hwn oedd fardd da. Ei gyfansoddiad ef yw yr hymn, 'Pwy welaf o Edom yn d'od.' Am yr awdwr, DAFYDD JONES, Llangan, ganwyd ef mewn amaethdy o'r enw Aberceiliog, ym mhlwyf Llan-lleian, yn sir Gaerfyrddin, yn y flwyddyn 1735. Derbyniodd ei addysg athrofaol yng Nghaerfyrddin, ac yn y fl. 1758, cafodd ei urddo i guradiaeth Llanafan Fawr, sir Frycheiniog. Symmudodd oddi yno yn fuan, a bu am ychydig amser yn gwasanaethu yn y Gogledd. Yn y fl. 1760, cawn ef yn gwasanaethu ym mhlwyfau Trefethin a Goldcliff, yn sir Fynwy. Cawn ef yn nesaf yn agos i Bristol, ac wedi hyny yn swydd Wilts. Yn y lle olaf daeth i gydnabyddiaeth â'r Arglwyddes Huntingdon. A chan fod yr Arglwyddes yn gyfeillgar â'r Arglwyddes Charlotte Edwin, perchenog bywoliaeth Llangan, llwyddodd i gael y fywoliaeth hòno, ym mro Morganwg, iddo. Felly, yn y fl. 1768, symmudodd Mr. Jones i'r fan a anfarwolwyd gan ei enw. Bu farw ym Manor Owen, ger llaw Abergwaen, yn sir Benfro, Awst 12, 1810, yn 75 oed.†

6. '*The* History of *Wales*. Written originally in the British, by Caradoc of Lhancarvan, *Englished by Dr. Powell*, and augmented by W. Wynne, Fellow of Jesus College, Oxon. To which is added, *A Description of Wales*, by Sir John Price. *A new edition, greatly improved and enlarged with Pedigrees of Families.*

London: printed for T. Evans, at No. 50 in the Strand, near York Buildings. MDCCLXXXIV.'

Yr oedd hwn yn chweched argraffiad.‡ Y mae y geiriau a roddwyd mewn llythyrenau Italaidd mewn argraff goch.

* Gwel rhif 3 a 7, d.f. 1707.

† [Wyr (fab merch) i'r gwr da hwn yw y Tra Pharchedig Llewelyn Llewellin, D.C.L., Deon Ty Ddewi, a Phenaeth Coleg Dewi Sant, Llanbedr.]

‡ Gwel rhif 1, d.f. 1584; rhif 1, d.f. 1663; rhif 1, d.f. 1697; rhif 4, d.f. 1702; rhif 17, d.f. 1779; a hwn yma. Daeth dau argraffiad o hono allan yn y 19edd ganrif, ym Merthyr Tydfil yn 1812, ac hefyd yn 1832, gyda sylwadau gan un Richad Lloyd. Y cyhoeddydd ydoedd Mr. E. Edwards, o'r Mwythig.

7. 'Hyfryd Goffadwriaeth y Cyfiawn, neu Farwnad Elizabeth James, o blwyf Casnewydd ar Wysg, yn sir Fynwe, &c.

Aberhonddu argraffwyd gan J. Evans, dros yr awdwr Dafydd William.'

Ail argraffiad.* Merch ieuanc ragorol mewn crefydd ydoedd, ac o deulu parchus. Yr oedd dau ewythr iddi yn weinidogion yr efengyl yn yr oes hòno. Bu farw yn 19 oed.

8. 'Dull o Ymddiddan rhwng Gweinidog yr Efengyl, a Disgybl ieuanc dan holiad. Gan Morris Griffiths, gerllaw Hwlffordd.

Caefyrddin, argraffwyd gan J. Ross, yn Heol-Awst. M,DCC,LXXX,IV.'

9. 'Y Briodas Ysbrydol; sef Pregeth Fuddiol, i bawb a gariant ein Harglwydd Iesu Grist mewn gwirionedd. Ar Esai. liv. 5. Dy Briod yw yr hwn a'th wnaeth, &c. Ym mha un y gosodir allan Undeb yr Enaid duwiol â Duw, a dedwydd Gyflwr y cyfryw mewn Bywyd, yn Angeu, ac yn y Farn. Gan P. W. Gweinidog yr Efengyl.

Caerfyrddin, argraffwyd gan J. Ross. 1784.'

Ni ellir ammheu mai y Parch. Peter Williams a feddylir wrth y P. W. uchod.

10 'A Tour in Wales. Vol. I. and II.

London, printed for Benjamin White, at Horace's Head, in Fleet Street. MDCCLXXXIV.'

Teithlyfrau Pennant ydyw yr uchod.

11. 'Ymddygiad Cristianogol; neu Ffrwythau gwir Gristianogrwydd. Yn dangos y gwraidd o ba le y maent yn tarddu yn eu dwyfol drefniad yn Nyledswydd Perthynasau, megis gwyr, gwragedd, rhieni, plant, meistriaid, gweision, &c. Gyda gair o Gyfarwyddyd i Wrthgilwyr. Gan Ioan Bunyan, Carcharor Gobeithiol. A gyfieithiwyd o'r ail argraffiad yn Saesonaeg.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Ross, dros P. Williams, M,DCC,LXXXIV.'

12. 'Marwnad ar Farwolaeth y Parchedig Mr. Christopher Basset, yr ieuangaf, o Aberddawen, yn sir Forganwg, Athro celfyddydau, yr hwn a ymadawodd a'r byd yr 8fed o Chwefror, 1784. Yn yr 31ain flwyddyn o'i oed, ac a gladdwyd yn Saint Athans. Hwn oedd ŵr duwiol dysgedig a rhinweddol, yn bregethwr dwys, gwresog, ac awdurdodol, yn holl athrawiaethau yr ysgrythyr lân;

* Gwel rhif 12, d.f. 1783.

yn arweinydd goleu i'r pererinion trwy holl hyfryd lwybrau 'r brynedigaeth yng Nghrist; a mawr alar sy yr awrhon am dano trwy holl ddeheudir a gogledd Cymru. 'Roedd ganddo ddiadell o rai duwiol yn Mhorthcery, yn agos i dŷ ei dad, i'r rhai a bendithiodd Duw ef. Y rhai sydd yn awr yn amddifad oni bai gweinidogion ffyddlon eraill, y rhai sy'n gwneud eu gorau am edrych atynt. Gan W. Williams.

Aberhonddu, Argraphwyd tros yr awdwr gan J. Evans. 1784.'

13. 'Musical and Poetical Relics of the Welsh Bards, preserved by tradition and authentic Manuscripts never before published. By Edward Jones (Bardd y Brenin).' 2 vols. folio. [London.]

Yr Edward Jones hwn oedd frodor o'r Henblas, Llandderfel, yn sir Feirionydd, lle y ganwyd ef yn 1752. Daeth i Lundain yn 1774, drwy gefnogaeth amrai wŷr enwog, lle y cafodd sylw mawr, ac yn 1783, penodwyd ef yn Fardd i Dywysog Cymru, wedi hyny Sior IV. Casglodd lawer o lyfrau prinion, y rhai y bu gorfod arno ymadael â hwynt, er cael modd i'w gynnal yn ei dlodi, yr hwn dlodi a leddfwyd, pan ddaethpwyd i wybod ei sefyllfa, trwy flwydd-dal o 50*p.*, oddi wrth Gymdeithas Freninol Cerddorion. Bu farw Ebrill 18, 1824, yn 72 oed, a chladdwyd ef ym mynwent Marylebone. Gwerthwyd y gweddill o'i lyfrau ar gyhoedd, a daethant ag elw o 500*p.*, ac yr oedd yntau ei hun wedi gwerthu gwerth 300*p.* o honynt yn ei gyfyngder.*

14. 'Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi yn y flwyddyn 1784.

Trefecca, Argraffwyd yn y Flwyddyn M,DCC,LXXXIV.'

15. 'Antiquities of England and Wales, by Francis Grose, 10 vols.

London. 1784.' 4to.

16. ¶ '"Ti fuost ffyddlon ar ychydig, dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd." Marwnad er Coffadwriaeth o farwolaeth Mr. Dafydd Jones; pregethwr rhagorol yn perthyn i gynnulleidfa Pentre-tŷ-gwyn, yn sir Gaerfyrddin; yr hwn yr ymadawodd a'r byd hwn, yn y flwyddyn 1784. Gan John Morgan o blwyf Bedwellty a'i cânt.

Trefecca, Argraffwyd.'

17. 'Marwnad Mr. Christopher Basset. Gan D. William.

Aberhonddu, Argraffwyd gan J. Evans. 1784.'

* Williams's *Dictionary of Eminent Welshmen.*

18. 'Y Cristion mewn Cyflawn Arfogaeth. Gan W. Gurnall. Rhan II.*

Trefecca, Argraffwyd.'

Ni ddywedir pwy oedd cyfieithydd na chyhoeddwr y gyfrol hon, dim ond ei bod newydd ei chyfieithu i'r Gymraeg. Y mae yr hysbysiad gan gyhoeddwyr y gyfrol gyntaf, naw mlynedd yn ol, yn dweyd fod yr ail gyfrol hon yn barod i'r wasg, pan gyhoeddwyd hòno. Wrth gymharu y ddwy gyfrol, ymddengys eu bod wedi eu cyfieithu gan yr un llaw.†

19. 'Marwnad John Price, o Blwyf Merthyr, yn Sir Frycheiniog. A ymadawodd a'r byd hwn, i fyd yr ysbrydoedd, yn y flwyddyn 1784. Gan Thomas Dafydd.

Caerfyrddin, Argraffwyd tros yr Awdwr, gan John Daniel.'

Dyma y lle cyntaf i gyfarfod ag enw John Daniel fel Argraffydd, heb y nod (¶) o ansicrwydd am y flwyddyn, a bu yn dwyn ym mlaen y gelfyddyd hyd 1799, ysbaid pymtheg mlynedd; ond os cymmerir y flwyddyn gyntaf y mae genym ei enw, 1770, gwna 19 mlynedd; ond bu un flwyddyn, neu bu yn cyhoeddi un llyfr yn 1794, mewn cyssylltiad â Mr. Ross, fel pe buasent yn gymdeithion yn y gorchwyl; beth bynag, argraffwyd un llyfr felly; ond y mae yr hanes sydd genyf yn wahanol.

John Daniel ydoedd fab i amaethwr bychan yn y rhan isaf o sir Gaerfyrddin, ac efe ydoedd unig fab. Efe a rwymwyd i'r gelfyddyd o argraffu am saith mlynedd gyda Mr. Ross, yng Nghaerfyrddin. Ar derfyniad ei amser, cynnygiodd Mr. Ross iddo ran yn y fasnach, ond efe a dewisodd weled mwy o'r byd, ac a aeth i Lundain; a chan ei fod yn gyssodydd neillduol gyflym, cafodd waith gydag argraffwyr y brenin, a bu yn gweithio ar fryslythyrau y llywodraeth. Yr oedd hyny ym mlwyddyn terfysg Gordon [1780]. Wedi iddo briodi yn Llundain, dychwelodd i Gaerfyrddin, a dechreuodd argraffu ar ei draul ei hunan yn 1783. Yn 1810, efe a sefydlodd y 'Carmarthen Journal.' Bu farw Ionawr 10, 1823, yn 68 oed; ac y mae wedi ei gladdu ym mynwent Eglwys plwyf Llangunnor, lle y mae gwyddfa ar ei fedd ef, ac ereill o'i deulu.‡

20. ¶ 'Ychydig o Eiriau a Hymnau o Waith Thomas Dafydd. Ynghyd a Chyffes ddiweddaf Mr. Dafydd Jones. Cyfieithydd Salmau a Hymnau Watts.'

21. 'Aurora Borealis, &c. Y Goleuni Gogleddol. Gan W. Williams.

Aberhonddu.'

* Gwel rhif 21, d.f. 1775.

† *Traethodydd*, iii. t. 398.

‡ *Llythyr* oddi wrth ei ferch, Mrs. George Thomas, at Mr. W. Spurrell.

Ymddengys fod hwn yn ail argraffiad.*

22. 'Atteb i Wr Boneddig a geisiodd brydyddu senn i'r yspryd a ddisgynodd ar rai gwrandawyr bywiol yn diweddar, ac a'u gwnaeth hwy i ganu a dyblu canu mawl i Dduw a'r Oen; ïe, bendithio, moliannu, llawenhau, llamu, a neidio o orfoledd eu iechydwriaeth. Yr atteb hwn a wnaeth yr awdwr, nid mewn dull o waradwyddo y dyn hwnnw, am ei anwybodaeth o'r Ysgrythyrau, a'i anfedrusrwydd i brydyddu, ond i roi calondid i ganlynwyr Crist, fel na lwfrhäont ganmol eu Duw, er gwrthwynebiadau yr anneallus a'r dibrofiad. Gan William Williams.

Aberhonddu, argraphwyd dros yr Awdwr, gan J. Evans. 1784.'

['Tybia rhai mai y Gwr Boneddig uchod oedd un o'r enw William Williams, oedd yn Weinidog i'r Bedyddwyr yn Aberteifi, yr hwn hefyd oedd yn Ynad Heddwch. Nid yw yr ysgrifenydd yn gwybod dim am ei gân, ond cyfieithwyd Sylwadau o'i eiddo ar Ddirywiaeth mewn Pregethu a Chanu, gan Morgan ab Ioan Rhys, yn 1794. Gwel dan y flwyddyn hòno.

Mae pump o Hymnau yn dilyn yr 'Atteb' uchod, y rhai ni chynnwysir yn yr argraffiad o holl Hymnau yr Awdwr. Maent i'w gweled yn argraffiad Mackenzie, t. 742 a 743, sef rhif xiii. hyd xvii. Mae y rhai blaenorol iddynt i gyd yn argraffiad 1811.'†]

23. ¶ 'Yr Hyfforddwr Cymreigaidd, &c. Gan Enoch Dafydd.

Caerfyrddin.'‡

24. 'Cyfarwyddiad i Fesurwyr neu Arfer Cyffredin o'r ddwy droedfedd. I. Mesur coed, pa un bynag ai crynion ai yscwâr, ai byrddau, ystyllod a phlangciau, ac hefyd meini, lloriau, muriau, wenscot, gwydr, gwaith y llifwyr, gwaith y gôf; ac amryw o bethau eraill yn arferol o gael eu mesur wrth y Ddwy droedfedd. Yn fuddiol i'r Saer coed a maen, ioiner, gwydrwr, llifwyr a chludwyr coed, gwyngalchwyr, ysclaters neu faenodwyr, a'r peithynwyr. II. Tablau o chwanegiad trwy gyfrifiad, fel y gellir yn haws grynhoi yr un swm o droedfeddi neu lathenau yr hyn a fesurir. III. Byr gyfarwyddiad i fesur tir. IV. Cyfarwyddid i ddyall mesurau a phwysau yscrythurol; llechres barod i fwrw arian; ac amryw o bethau eraill yn dra buddiol i bob marchnadyddion. Argraphiad newydd, gida chwanegiadau.

Argraphwyd yng Ngwrecsam, gan R. Marsh. 1784.'

25. 'Tour in Wales, with Journey to London. 2 vols. By Thomas Pennant. 1784.'

* Gwel rhif 7, d.f. 1774.

† *Llythyr* Mr. Morris Davies.

‡ Yn ol *Ysgrif* Mr. Benjamin Davies.

26. ¶ 'The Whole of the Trial of the King versus Rev. Wm. Davies Shipley, Dean of St. Asaph, for a Libel, held at Wrexham, Co. Denbigh. 1784.'

Y Deon SHIPLEY ydoedd fab i'r Esgob Jonathan Shipley. Efe a gyhoeddodd anerchiad ei gâr, Syr William Jones, at Rydd-ddeiliaid, mewn amser o gryn gynhwrf gwladwriaethol yn etholiad aelod seneddol, yr hwn y ceisiwyd ei wneyd gan y blaid arall yn fradwriaeth. Yr oedd y deon wedi priodi merch i Syr John Conwy o Fodryddan, yn sir Flint. Mabwysiadodd ei fab yntau y cyfenw Conwy, wrth yr enw llawn—William Shipley Conway.

## 1785.

1. 'Cyfiawnhad Pechadur: Neu'r Arglwydd Iesu Grist, yr Arglwydd ein Cyfiawnder. A draddodwyd mewn amryw Bregethau, gan Obadiah Grew, D.D. Gynt Gweinidog yr Efengyl yng Nghofentri. At ba un y chwanegwyd Traethawd byrr er amddiffyn Bedydd Plant Bychain.* Gan y Parchedig Mr. Nathaniel Taylor.

Trefecca, Argraphwyd yn y Flwyddyn, MDCCLXXXV.' [12plyg.]

OBADIAH GREW, D.D., a ddewiswyd yn amser Cromwel, gan faer a swyddogion tref Coventry, yn weinidog plwyf mawr St. Michael, yn y dref hòno. Ond cafodd ei droi ymaith pan adferwyd Siarl II., o blegid na chydymffurfiai â ffurfwasanaeth esgobyddol. Wedi hyny bu yn cael ei erlid o le i le am weddio a phregethu. Yn 1665, yn amser y pla mawr, aeth i Lundain i bregethu, ond gyrwyd ef oddi yno gan y Senedd. Yn 1672, cafodd ef ac ereill beth mwy o ryddid, a dychwelodd at ei bobl, lle y bu hyd nes y cyfyngwyd eu rhyddid drachefn yn 1682, pryd y bu raid iddo ymadael, er ei fod yn ddall. Pan ddaeth y Tywysog Orange (William III.) i mewn i'r llywodraeth, efe a ddychwelodd i'r ddinas, ac a bregethodd hyd o fewn mis i'w farwolaeth, yr hyn a gymmerodd le yn 1689.†

2. 'Esponiad ar Ddammeg y Mab Afradlon. Gan John Bunyan.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan Joan Ross.'

3. 'Myfyrdodau Herfei, y rhan gyntaf, o gyfieithiad Iorwerth Barnes.

Caerlleon, Argraffwyd gan J. Monk.'

4. 'Y Cwestiwn mawr, sef Pa fodd y myn Duw gadw Dyn? Wedi ei egluro mewn Pregeth ar Phil. ii. 12, 13. Gan E. Griffith, G.E.

* [Y mae i'r 'Traethawd Byr' ddalen enw o'i eiddo ei hun:—'Traethawd Byr er Ymddiffyn Bedydd Plant Bychain. Gan y Parchedig Mr. Nathaniel Taylor. Trefecca: 1785.' Attodir ef i'r gwaith blaenorol, ond rhifnodir ei ddalenau ar wahan.]

† Palmer's *Calamy's Non-Con. Mem.* vol. iii. p. 343.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Ross. 1785.'*

5. ¶ 'Darllen Dwfr a Meddyginiaeth. Gan Nathaniel Williams.'

NATHANIEL WILLIAMS ydoedd frodor o gymmydogaeth Meidrym, yn sir Gaerfyrddin, a bu am beth amser yn weinidog cynnorthwyol ordeiniedig i'r Bedyddwyr yn Ffynnon Henri, yn yr un sir. Bu farw o ddeutu 1815 neu 1816.†

6. ¶ 'Goleuni yr Efengyl; Pregeth gan Edmund Jones, Ebenezer, Pont-y-pool.'

7. 'Gwaith Prydyddawl y diweddar barchedig Dafydd Llwyd, Gweinidog Eglwys Llwyn Rhyd Owen, yn Sir Aberteifi.

Caerfyrddin; Argraphwyd gan J. Ross, yn Heol Awst, 1785.'

DAFYDD LLWYD, neu DAVID LLOYD, fel y dywedir uchod, ydoedd weinidog Llwyn Rhyd Owain, yr hon gynnulleidfa oedd yn cofleidio egwyddorion Ariaeth er ys blynyddau cyn hyn, trwy weinidogaeth Mr. Jenkin Jones, a darfu i Mr. Llwyd, fel ei ddilynydd, gyhoeddi yr un egwyddorion, a'u lledaenu, fel yr ystyrid ef yn sylfaenydd y cynnulleidfaoedd Ariaidd a Sosinaidd [Undodaidd] yn sir Aberteifi. Cafodd ei ddysg yn y Coleg Presbyteraidd yng Nghaerfyrddin, ac ymadawodd i waith y weinidogaeth yn y 18fed flwydd o'i oed, o ddeutu y fl. 1742, ac ordeiniwyd ef yn Llwyn Rhyd Owain, yn 1745, pryd y pregethwyd gan Mr. G. Palmer, o Abertawy. Yr oedd yn ysgolhaig enwog, ac yn bregethwr nerthol, yn fardd o chwaeth ragorol, ac yn ymlynol iawn wrth yr egwyddorion mawrion o ryddid gwladol a chrefyddol. Bu farw yn y flwyddyn 1778, yn 54 oed, wedi bod 36 mlynedd yn y weinidogaeth. Gwelir mai ym mhen saith mlynedd wedi ei farwolaeth y cyhoeddwyd ei 'Waith Prydyddawl.'‡

8. 'Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, yn y Flwyddyn 1785.

Trefecca; Argraphwyd yn y flwyddyn M,DCC,LXXXV.'

9. 'Mesurwr Cyffredinol. Gan Mathew Williams. Ail Argraphiad.'

10. 'Llaw-lyfr Ysgrythyrol, neu Ddarluniad eglur o'r Ordinhad o Fedydd. Wedi ei amcanu er budd i bawb, a ddymunant atteb Cydwybod dda tu ag at Dduw; a rhoddi rheswm dros eu Ffydd a'u Hymarferiad, gyd ag Addfwynder ac Ofn. Gan y Parchedig Mr Samuel Wilson. Yr ail argraphiad yn Gymraeg; a Gyfieithwyd o'r Pedwerydd Argraphiad yn Saesonaeg.

* Ail argraffiad, gwel rhif 8, d.f. 1783.

† *Hanes y Bedyddwyr yn y Deheubarth*, gan D. Jones.

‡ *Hanes Crefydd yng Nghymru*, gan Peter; a *Llythyr* cyfrinachol oddi wrth y Parch. Dr. David Lloyd, Athraw Ieithyddol Coleg Presbyteraidd Caerfyrddin, ac ŵyr i awdwr y llyfr uchod.

Argraphwyd yn y Flwyddyn M,DCC,LXXXV.' [12plyg.]

Cynnwysa 24 o dudalenau, ac heb enw argraffydd.

11. 'Elegia, neu Fyfyrdodau ar Farwolaeth Mary Thomas, o Drecastell, yn sir Forganwg. Gan Thomas Williams.

Trefecca, 1785.'

12. ¶ 'Poems on several occasions (including the Complaint of Cambria, done into English from the Welsh original), By E. Lovibond. 1785.'

13. 'Coffadwriaeth o'r Haf Sych, yn y Flwyddyn M,DCC,LXXXV. Wedi ei osod allan ar Fesur Cerdd, gyd ag Adnodau Ysgrythyrol; Er Cadarnhad i'r Gwirionedd, Trwy Ddymuniad amryw o Ewyllyswŷr da i Lwyddiant yr Efengyl. Y Trydydd Argraphiad.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Daniel, yn Heol-y-Brenin, Lle yr argrephir pob math o gopiau am Bris rhesymol.'

14. 'Siamplau ofnadwy* Duw ar Droseddwyr: neu Wirioneddol a neillduol Hanes am John Williams, o Blwyf Appledore, yn Sir Dyfneint, neu Devonshire, yr hwn a lyngcwyd i'r Ddaear hyd ei ganol, ar y seithfed dydd ar hugain o fis Mai diweddaf. A osodir allan ar ddymuniad 12 o wyr Eglwysig, er rhybudd i ddynolryw. Ynghyd a Hanes William Reves, yr hwn a Grogwyd yn Dorchester, Dydd Mercher, y nawfed o Fawrth, 1785, am Ladd ei Wraig, a Thri o Blant.

Mwythig, Argraphwyd tros John Lewis. (Pris Ceiniog.)'

15. 'Tair Marwnad, &c. 1. D. Thomas. 2. Tim. Thomas. 3. Dafydd Thomas.

Trefecca.'†

16. 'Myfyrdodau ar Farwolaeth Thomas Rees, Esqr. Llwynpiod. Gan W. Williams.

Caerfyrddin.'‡

17. ¶ 'Darluniad Gras a Serchiadau Natur; yn gweithio mewn Siomedigaeth, Ofn, a Hiraeth, ym mhrofiadau Mrs. Margaret Lloyd, Gwraig Mr. William Lloyd, Pregethwr yr Efengyl, yn achos Claddedigaeth Mab Bychan iddi, oddeutu Deg Mlwydd Oed, o'r Frech Wen, yr hwn oedd yn Blentyn Glan, Call, a Hawddgar, ac yn meddu wrth bob arwyddion Wirionedd Gras, ac yn dwyn Tyst-

* [O farn neu farnedigaeth, mae yn debyg.]

† *Llythyr* Mr. B. Davies.

‡ Yn ol *Ysgrif* Mr. B. Davies.

iolaeth i bawb a'i gwelai, iddo huno yn yr Arglwydd ym Mis Ebrill 1783. At ba un y Chwanegwyd, Rhai Gwersi ar Farwolaeth John Evans, Pregethwr yr Efengyl, yr hwn a fu Farw ym Mis Mawrth, 1784. A Rhai Gwersi ar Farwolaeth William John, o Llywele-Mawr, Pregethwr yr Efengyl, yr hwn a ymadawodd ar Ddydd Sul y 18fed o Ebrill, 1785. Gan William Williams.

Aberhonddu, Argraphwyd gan Wm. a Geo. North.'

18. [' Myfyrdod ar Angau, &c. Gan William Williams.

Caerfyrddin, argraffwyd gan J. Ross, yn Heol Awst. 1785.'

'Cân alarnadol ydyw, o 85 o bennillion. Gwel argraffiad Mackenzie, t. 736.*]

## 1786.

1. 'Marwnad er Coffadwriaeth am Jane, gwraig Mr. Thos. Foulkes, o'r Bala. A gladdwyd Hydref 28, 1785. Yn yr 68 o'i hoedran. Gan William Evans.

Trefecca, Argraphwyd yn y flwyddyn 1786.'

Y gwrthddrych ydoedd wraig gyntaf Mr. Foulkes, a mam gwraig y Parch. T. Charles, o'r Bala.

William Evans ydoedd o'r Fedw Arian, ger llaw y Bala, a'r hwn oedd yn un o'r 'Cynghorwyr' cyntaf ym mhlith y Methodistiaid yn y cymmydogaethau hyny, 'ac a fu yn llafurus a diwyd i gyhoeddi yr efengyl ar hyd conglau tywyll o'r wlad, nes yr anhwyluswyd ef gan y parlys, yr hwn a ammharodd ei gof, ac a wanhaodd ei synwyrau amser cyn ei farwolaeth.'†

2. 'Histori neu Hanes Bwystfil rhyfeddol a anwyd o wraig, mewn Pentref a elwir Meltham, yn agos i Huddersfield, yn y flwyddyn 1786.

Trefriw, Argraphwyd, 1786.'

3. ¶ 'Ychydig o Ymddiddan difrifol rhwng dau Ymdeithydd, sef Gwr Ifangc yn cwyno tan bwys cydwybod euog, a Hên Wr yn ceisio ei gysuro. Gan Hugh Williams.

Trefriw, Argraphwyd.'

4. ¶ 'Gwallt Samson: Pregeth, &c. Gan Edmund Jones, Pont-y-pool.'

5. 'Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi. 1786.

Trefecca: Argraphwyd yn y flwyddyn M,DCC,LXXXVI.'

* *Llythyr* Mr. Morris Davies.

† *Drych yr Amseroedd*, ail arg. t. 175, 213.

6. 'Immanuel. Neu Ddirgelwch dyfodiad Mab Duw yn y Cnawd. Wedi ei Agor. Gan y gwir Barchedig Dad yn Nuw, James Usher, Gynt Arch-Esgob Armagh, yn Iwerddon. Newydd ei gyfieithu i'r Gymraeg gan W. Williams, Gweinidog yr Efengyl.

Trefecca, Argraphwyd yn y flwyddyn M,DCC,LXXXVI.'

7. 'Marwnad John Thomas, Gweinidog Maesyberllan, gan Benjamin Francis.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Daniel.'

8. 'Hymnau a Chaniadau Duwiol, ar fesurau hen a newydd: gyda Phrofiadau Ysgrythyrol, er cadarnhad i'r gwirionedd. Gan Ioan Sanders, o Blwyf Penbre, yn sir Gadrfyrddin.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Daniel, (Gwerthwr Llyfrau, &c.) yn Heol y Brenin, Lle yr Argreffir pob math o gopiau, yn gywir ac yn hardd, ac am bris tra rhesymol. MDCCLXXXVI.'

9. 'Y chweched Ran o Ganiadau Seion: neu Hymnau ac Odlau Ysprydol gan John Thomas.

Trefecca. Argraphwyd yn y Flwyddyn MDCCLXXXVI.'

Y mae yr awdwr yn arwyddo y rhagymadrodd o'r 'Tŷ Coch, ger llaw'r Ffynhonau Plwyf Llan Drindod Sir Faesyfed.'

10. 'Aleliwia; neu Hymnau perthynol i addoliad cyhoeddus a theuluaidd. Yr ail Lyfr. Gan Benjamin Francis.

Caerfyrddin: argraffwyd ac ar werth dros yr Awdwr gan J. Daniel. 1786.'*

11. 'Marwnad ar Farwolaeth Rowland Jones, o Graian-Frynn, ym Mhlwyf Llanfigail, yn Sir Fon, Yr hwn a hunodd gyda'i Dadau Ebrill 10. 1785, yn llawn 37 oed. Gan Thomas Morris. At ba rai y chwanegwyd, Ymddiddan rhwng y ddwy Eglwys, &c. O waith Dafydd William.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Daniel. M,DCC,LXXXVI.'

12. 'Rheolau a Deddfau, i'w cadw gan Gymdeithas o Foneddigion, Llafurwyr, Crefftwyr ac eraill, Trigolion Tref y Castell-Newydd yn emlyn, A'r Gym'dogaeth, yn Sir Gaerfyrddin.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan I. Ross, yn Heol-Awst. M.DCC.LXXXVI.'

13. 'Memoirs of Great Britain and Ireland, from the Dissolution of the Last Parliament of Charles II. until the Sea Battle of la Hogue, by John Dalrymple.

* Gwel rhif 20, d.f. 1774.

London, W. Strahan 1771 and 1786.'*

William Strahan, yr argraffydd, a anwyd yn Edinburgh, yn 1715. Wedi cael dysgeidiaeth ieithyddol, efe a rwymwyd yn egwyddorwas gydag argraffydd. Wedi dysgu ei gelfyddyd, aeth i Lundain i weithio, ac mewn canlyniad, i ymsefydlu; a bu mor llwyddiannus, fel, erbyn y fl. 1770, yr oedd yn un o'r argraffwyr helaethaf ei waith yn Llundain, a phrynodd ran o hawl-fraint Mr. Eyre fel argraffydd y brenin, yn yr hyn y parhaodd hyd ei farwolaeth, yr hyn a gymmerodd le, Gorphenaf, 1785, yn 71 oed.† Yr oedd yn rhaid fod y llyfr hwn yn y wasg pan fu farw, ond heb ei gwblhau hyd ddechreu y flwyddyn hon.

14. ¶ 'History of Wales, Account of the Ancient Britons, Wars between the Saxons and Welsh &c. to the entire Conquest of Wales, and Ancient Memorials of Welsh Princes. By the Rev. Wm. Warrington. 1786.'

[Nis gall yr enw, fel ei gosodir yma, fod yn gywir. Diau mai ei gymmeryd o ryw gofrestr llyfrau a wnaeth yr awdwr. Cymh. rhif. 17, d.f. 1788.]

15. ¶ 'A Discourse to the Distressed Clergy of Carmarthen. By the Bishop of St. Davids.

Carmarthen, Printed 1786.'‡

Yr esgob oedd y Dr. Smallwell. Y bregeth a draddodwyd i'r offeiriaid yng Nghaerfyrddin.

16. ¶ 'The Miscellaneous Companions, being a short Tour of Observation and Sentiment thro' a part of South Wales: Maxims and Thoughts, On Marriage, Our Last Day, Punishment, World of Spirits. By Wm. Matthew. In III Volumes.

Bath, 1786.'

Cynnwys chwedlau am hyswïaeth gwragedd Cymru, glanweithdra, baw, ac am dlysni prydwedd merched y Cymry.

17. ['Galar a Gorfoledd y Saint: neu Hymnau cymmwys a pherthynol i Addoliad Cyhoeddus. Gan William Lewis, Llangloffan.

Trefecca: Argraphwyd yn y Flwyddyn M.DCCLXXXVI.' 12plyg.]

* *Dictionnaire Bibliographique*, yr hwn sydd yn waith rhagorol yn yr iaith Ffrancaidd, yn cynnwys rhestr o lawer o filoedd o lyfrau hen a phrin, yn amrywiol ieithoedd Ewrop, yn bedair cyfrol, 8plyg; ac y mae cyfargraff da o hono yn llyfrfa W. Chambers, Ysw., Hafod, sir Aberteifi, i'r hwn y mae y golygydd [yr awdwr] yn rhwymedig am y parodrwydd a ddangosodd, iddo gael mynedfa mor rhydd i'w lyfrfa ragorol.

† *Gentleman's Magazine*, 1785, pp. 638-640.

‡ Hotten's *Catalogue*.

18. [‘Ychydig o Hymnau a Chaniadau Newyddion ar amrywiol achosion: pa rai ni argraphwyd erioed o'r blaen. Gan Gwilym ab Elis.

Trefecca: Argraphwyd, tros yr awdwr, yn y Flwyddyn. MDCCLXXXVI.’ 24 tudalen.

Yn hwn y mae yr emyn adnabyddus, ‘Nis gallodd angau du ddal Iesu'n gaeth,’ &c.*]

## 1787.

1. ‘Marwnad ar y Parchedig Mr. William Davies, o Gastell-nedd; yr hwn a ymadawodd a'r Byd, ddydd Gwener y 17 o Awst, 1787. Yn y driugeinfed flwyddyn o'i oed, ac a gladdwyd ym Mynwent Castell-nedd; wedi treulio tros 30 o flynyddau i bregethu Efengyl Crist ymhlith y Methodistiaid: ynghyd â rhai gwersi i eraill a fuont feirw yn yr Arglwydd. Gan William Williams.

Trefecca, Argraphwyd yn y flwyddyn M,DCC,XXXVII.’ [16plyg: 12 tudalen.]

2. ‘Y Cyssylltiad rhwng Ffydd Achubol a Gweithredoedd da, mewn Pregeth ar Tit. iii. 8. Gan y Parchedig John Hallward, A.M. Ficar Shudbury, yn Sir y Mwythig, a Chyfaill o Ysgoldy Caerwrangon yn Rhydychen.

Mwythig: Argraphwyd gan T. Wood, dros y Gymdeithas, yn y flwyddyn M,DCC,LXXXVII.’

Ymddengys fod hwn yn ail argraffiad.†

3. ‘Marwnad ar Farwolaeth Mrs. Ann Parry. Gan y Parch. T. Jones. 1787.’

Thomas Jones, a anwyd yng Nghaerwys yn 1756. Cafodd beth dysgeidiaeth ieithyddol, gyda bwriad o fod yn weinidog yn yr Eglwys Sefydledig; ond ymunodd â'r Methodistiaid Calfinaidd, ym mhlith y rhai y bu yn llafurio fel pregethwr a gweinidog yn ffyddlawn a defnyddiol am agos deugain mlynedd. Ysgrifenodd gryn lawer. Ei waith mwyaf yw ei ‘Ferthyrdraith.’ Hynododd ei hun fel amddiffynydd y tybiau athrawiaethol a ystyrir yn Galfinaidd, mewn gwrthwynebiad i'r Parch. O. Davies, yr hwn a ysgrifenai ar yr ochr arall, a'r hwn ydoedd yn un o'r Wesleyaid. Cyfieithodd hefyd ‘Y Cristion mewn Cyflawn Arfogaeth,’ gan Gurnal, yn 4 cyfrol. Bu farw yn Ninbych, Mehefin 16, 1820, yn 64 oed.‡

4. ‘Egwyddorion y Grefydd Gristnogawl yn gynhwysol mewn Catechism Byrr, a ossodwyd allan gan Gymmanfa o Ddifinyddion

* *Llythyr* Mr. Morris Davies.

† Gwel rhif 3, d.f. 1779.

‡ *Cofiant neu Hanes Bywyd Thos. Jones,* o dref Dinbych; Williams's *Eminent Welshmen.*

yn Westminster, yn y flwyddyn 1647. A Bedydd gwedi ei eglurhau trwy'r Ysgrythyrau yn ol barn y rhai a gamenwir yr Ail-Fedyddwyr. A'r cwbl a ddosparthwyd yn Byngciau Gwahanol, ac a brofwyd trwy eglur a pherthynasol Destynau o'r Ysgrythur. Er Budd i Ieuengctid Cymru.

Trefecca, Argraphwyd yn y flwyddyn 1787. (Pris Pedair Ceiniog).' [12plyg: 60 tudalen.]

'Catechism y Gymmanfa' ydyw, ond wedi ei droi ar y pwnc o o fedydd yn ffafriol i drochiad, at wasanaeth y Bedyddwyr. Y mae rhagymadrodd iddo gan Abel Morgan.

5. Cynnadledd Ymresymaeg rhwng Pleser a Gofid; ar ddull Interlude, &c. Gan Thomas Edwards.

Caerfyrddin.' 12plyg.*

6. 'Testyn y Traethod yr Wythfed Llythyr, a gymerwyd o'r Littani. O waith Ellis Roberts, Cowper.

Trefriw, Argraffwyd, 1787.'

7. ¶ 'Y Chweched Llythyr ar ddull pregeth. Gan Ellis Roberts, Cowper, Llanddoged.

Trefriw, Argraffwyd.'

[Diau y dylasai hwn fod o flaen rhif 6; canys y mae hwnw yn wythfed o lythyrau Elis Gylchwr; tra nad yw hwn ond y chweched.]

8. 'Marwnad ar farwolaeth y Parchedig John Thomas, Gynt o Faes y Dorglwyd, &c. Gan B. Francis.

Caerfyrddin, Argraphwyd yn 1787.'

9. 'Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, 1787.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan John Daniel, yn Heol-y-Brenin.'

10. 'Can Dduwiol, &c.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan John Daniel, 1787.'

11. 'Rhai Hymnau Newyddion ar Fesurau newyddion. Gan W. Williams.

Trefecca: Argraphwyd yn y Flwyddyn, 1787.'

['Hymnau olaf "Per Ganiedydd y Cymry" yw y rhai hyn, yn cynnwys hymn 847 hyd 860 yn yr argraffiadau o'r holl waith. Llyfran bychan ydoedd o 12 tudalen, cyffelyb i ddau arall a argraffesid o'r blaen. Yn y modd hwn y gorphenodd ei hymnau gwerthfawr, wedi bod yn cyfansoddi o 1743 hyd 1787, pedair a deugain o flynyddoedd! Mae yr hymn olaf, sef 860, yn ddiweddglo tra phriodol i'r cyfan, ac yn gyflawn o deimlad.'†]

* *Gwladgarwr*, Mai, 1838, t. 144. [Thomas Edwards=Twm o'r Nant.]
† *Llythyr* Mr. Morris Davies.

12. ¶ 'Discourse against the Jurisdiction of the King's Bench over Wales, by Process of Latitat.'

Nid ydys yn deall i hwn gael ei argraffu wrtho ei hun, ond ym mhlith traethodau cyfreithiol Hargraves, yn y flwyddyn hon, yn bedwar- ac yn wyth-plyg. Yr awdwr ydoedd Charles Pratt, wedi hyny Arglwydd Ganghellydd Camden.*

13. 'The History of Wales, in nine Books: with an Appendix. By the Rev. William Warrington, Chaplain to the Right Honourable the Earl of Besborough.

London: Printed for Johnson, No. 72, St. Paul's Church-yard. MDLCCXXXVII.'†

14. 'Ychydig o Rheolau yw derbyn ai harfer gan bob Dyn, ac sydd am fod yn Gristion yn ol y Bibl. Yn ddwy ran. I. Rhan yn erbyn Beiau [ie pob Beiau] yn cael eu gwahardd, mi enwaf rai; ac y mae Aelodau Eglwysig yn dueddol iddynt, y rhai a waherddir yn eglur yn yr Ysgrythyrau, ac y mae Duw yn anfoddlon iddynt. II. Rhan yn cynnwys amryw ddyledswyddau a orchmynir; mewn cyflawniad cydwybodol o honynt y derbyn Crist'nogion amryw fendithion, &c. O Gasgliad John Richards Llwyngronw.

Machynlleth: Argraphwyd gan T. Evans, 1787.'

## 1788.

1. 'Dechreuad a Chynnydd Crefydd yn yr Enaid. A eglurwyd mewn amryw Gyfarchiadau Difrifol ac ymarferol, wedi eu cymhwyso at bob Mâth ac Amgylchiad o Ddynion; Gyda Duwiol Fyfyrdod, neu Weddi, Wedi ei 'chwanegu at bob Pennod. Gan P. Doddridge, D.D. A gyfieithwyd i'r Gymraeg allan o'r unfed ar ddêg Argraffiad yn Saes'neg, er llês i'r Cymru un Iaith, Gan John Griffith, Gweinidog yr Efengyl.

Yn y Mwythig: Argraffwyd ac ar werth gan J. a W. Eddowes, a chan yr Awdwr yn Abergafenny, 1788. [Pris 2s. mewn papur glâs, neu 2s. 6c. wedi ei rwymo.]'

John Griffith ydoedd fab . . . . . . . . . ac a anwyd yn 1753. Cafodd ei ddysgeidiaeth yn . . . . . Neillduwyd ef i'r weinidogaeth, i gynnulleidfa o Ymneillduwyr yn Llanfyllin, yn 1780, a symmudodd i Gaernarfon yn 1782, ac i Abergafenni yn 1784, ac i Gaernarfon yn 1797. Bu yn briod ddwy waith; y tro cyntaf, ag Agnes Meredith, o ger y Trallwng, sir Drefaldwyn, a'r ail waith, a Mrs. Griffith, gweddw o ger Rhoslan, Eifionydd, yn sir

* 2 *Harg. Juris. Excer.* 301; and *Archæologia Cambrensis*, vol. i. third series.

† Gwel rhif 14, d.f. 1786. [Ymddengys fod hwn yn ail argraffiad o Warrington.]

Gaernarfon, o'r hon briodas y mae wedi deillio dau o weinidogion parchus iawn ym mhlith yr Annibynwyr, sef y Parch. W. Griffith, Caergybi, a'i frawd, y Parch. John Griffith, Buckley. Bu farw Chwefror 13, 1818, yn 65 oed,* wedi bod yn pregethu 40 mlynedd.

2. 'Yr Athrofa Rad, &c. O gasgliad a myfyriad John Roberts. M,DCC,LXXXVIII.'

Math o silliadur mawr ydyw, o waith 'Almanaciwr Caergybi,' ag iddo ragddalen farddonol (heb law yr un uchod), yn ol dull ei 'Gyfeillion,' neu ei Almanaciau.

3. 'Y Bibl Sanctaidd, gyda Sylwadau y Parch. Peter Williams.

Argraphwyd yn Nhrefecca.'

Yr oedd hwn yn drydydd argraffiad.†

4. 'Llyfr Gweddi Gyffredin a Gweinidogaeth y Sacramentau, &c.

Mwythig; Argraphwyd ac ar werth gan Ann Prys. MDCCLXXXVIII.'

Y mae yn debyg fod Stafford Prys wedi marw erbyn hyn, a bod y fasnach yn awr yn cael ei ddwyn ym mlaen gan ei weddw, ac mai hi yw yr Ann Prys hon.

5. 'Esponiad ar y Deg Pennod gyntaf o Genesis, a rhan o'r unfed-ar-ddeg. Gan yr enwog a'r Parchedig John Bunyan. Newydd ei gyfieithu yn ofalus ac yn ffyddlon i'r Gymraeg, o'r Argraffiad diweddaf yn Saesonaeg.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan John Daniel. (Pris Swllt heb ei rwymo.)'

Cynnwysa 160 o dudalenau wythplyg. Argraffwyd ef hefyd yn Llanrwst yn y 19edd ganrif. Yr oedd ym mwriad Mr. Daniel gyhoeddi holl waith Bunyan, fel y prawf y nodiad canlynol:—'N.B. Gan fod Mr. Daniel wedi cael ei siomi mewn perthynas i'w amcan i argraffu holl waith Mr. Bunyan, gan na ddaeth cynnifer o enwau ag oedd yn angenrheidiol mewn trefn i'w annog i ddwyn yn y blaen waith mor bwysig, mae yn awr yn bwriadu gosod yn y wasg Esponiad Mr. Bunyan ar ran fawr o *Genesis*, o gylch swllt o bris. Ac os bydd yn gweled parodrwydd yn ei gydwladwyr i gymmeryd hwnnw yn fuan oddiar ei law, y mae yn bwriadu argraffu y lleill, bob un, yn gyfatebol i'r blys a brofo mewn dynion i'w derbyn.'‡

6. 'Caniadau Seion: neu Hymnau Ysgrythyrol a phrofiadol, i'w canu yng nghynnulleidfaoedd y Saint, ynghyd â Marwnadau ac Odlau. Yr ail Argraphiad. Gan J. Thomas, Gweinidog yr Efengyl.

* *Hanes yr Ymneilltuwyr*, gan D. Morgan, t. 276-279.

† Gwel rhif 1, d.f. 1770; rhif 5, d.f. 1781; a hwn yma.

‡ Gwaelod dalen olaf 'Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi [y Bedyddwyr], 1789.'

Trefecca; Argraphwyd, ac ar werth yno, a chan yr Awdwr, a chan Mr. John Thomas, Siopwr yn Llannerch y Medd, Sir Fon, a chan Owen Owens, Caernarfon. M,DCC,LXXXIII.'

Yr oedd yr awdwr wedi cyhoeddi 'Caniadau Seion' o'r blaen yn rhanau achlysurol, hyd i chwech; ac yn awr yn eu cyhoeddi yn un llyfr. Y 3ydd, y 4ydd, a'r 6ed yn unig o honynt a fedrais eu cofrestru.*

7. 'Troedigaeth Atheos: Ei fawr Gableddau gynt, a'i gyfeiliornus Ddaliadau.—Yn ymgyfarfod a Theologus—Yn ymddadleu oddiar System Epicurius, ynghylch y dechreuol Achos, a pha fodd y daeth yr hyn a welir mewn Bod.—Theologus yn ei atteb; bod y Greadigaeth, Haul, Lloer, Ser, Planedau, Tir, a Môr, yn dangos fod Duw, ac mai efe yw Creawdwr a Chynhaliwr pob Peth gweledig ac anweledig.—Creadigaeth yr Angylion.—Rhyfel yn y Nef.—Creadigaeth y Byd.—Rhai yn gwrthgilio.—Dedwydd Gyflwr Dyn.—Uffern yn ymgynghori pa fodd i'w gwympo, ac yn llwyddo.—Ei alaethus Gyflwr trwy'r Cwymp.—Cyngor Tri-yn Un.—Crist yn rhoi ei hun yn Iachawdwr.—Ei Ddyfodiad i'r Byd, ac ar ol gorphen Gwaith y Prynedigaeth yn esgyn at y Tad.—Ei ail Ddyfodiad.—Y Farn gyffredinol.—Dedwyddwch y Duwiol, a Thrueni yr Annuwiol. Lle yr ymddengys Doethineb, Gallu, a Daioni Duw, mewn Creadigaeth, Rhagluniaeth, a Phrynedigaeth. Hefyd, Golwg Fer ar y Diwygiad diweddar, Tystiolaeth Ffydd, ac Adlais y Prophwydi.—Am Gwymp Anghrist, Galwad yr Iuddewon, Llwyddiant yr Efengyl, a Gogoniant yr Eglwys yn y Dyddiau diweddaf. Yn Dair Rhan.—At ba un y chwanegwyd Hymn ar Ddioddefaint, Marwolaeth, ac Adgyfodiad Crist. Gan J. Owen, Machynlleth.

Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth dros yr awdwr, gan Ioan Daniel, yn Heol-y-Brenin. 1788.'

JOHN OWEN ydoedd fasnachwr ym Machynlleth, ac yn un o berchenogion gwaith mwn y Dyfn-gwm. Yr oedd yn aelod eglwysig gyda'r Methodistiaid Calfinaidd. Bu farw yn Llangyndeyrn, sir Gaerfyrddin, yn 1830, yn 72 oed. Efelychiad ydyw y gwaith hwn o 'Theomemphus' Williams Pant y Celyn.

8. 'Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, 1788.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Daniel, yn Heol-y-Brenin. Lle y gellir cael ar werth, newydd ei droi i'r Cymraeg, o waith Mr. Bunyan, Esponiad ar y Deg Pennod gyntaf o Lyfr Genesis, &c. Pris Swll. Elw da i Brynwyr nifer o honynt ynghyd.'

* Gwel d.f. 12, 1762; rhif 13, d.f. 1764; a rhif 9, d.f. 1786.

9. 'Marwnad, neu Dduwiol Goffadwriaeth am y Parchedig Mr. Thomas Davies, Gynt Gweinidog yr Efengyl; yr hwn a ymadawodd a'r byd hwn Gorphenaf 26, 1788. Gan Rees Lloyd.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Daniel, yn Heol-y-Brenin, 1788.'

10. 'Allwedd Newydd i Ddysgu Darllain Cymraeg; yn cynnwys Tablau a Phennodau cymhwysiadol i'r diben hynny, o Eiriau Dwy, Tair, Pedair, a Phump Llythyren, Hyd at Eiriau Pump a Chwech Sillaf. At ba un y Chwanegwyd, Traethawd Byrr ar Gramadeg Cymraeg, ynghyd a Chatecism Ysgrythurol, Mewn Dull Ymddiddan, Rhwng Aradwr a'i Gathrenydd: Wedi ei amcanu er Budd Cyffredinol, ond yn fwyaf neillduol er Addysg Ysgolion Cymraeg. Gan Owen Hughes, Gerllaw Trefdraeth, yn Sir Benfro.

Caerfyrddin: Argraphwyd yn Heol-y-brenin, ac ar werth yno gan Ioan Daniel, lle yr Argrephir pob math o Gopiau am bris rhesymol. [Pris Chwe' Cheiniog.]'

Math o silliadur mawr ydyw, tebyg i 'Athrofa Rad' John Roberts,* yn cynnwys elfenau gramadeg, catecismau, &c.

Owen Hughes ydoedd fab hynaf i Erasmus Hughes, o Benlan, Llanychlwydog [ger Trefdraeth], yn sir Benfro, ac a anwyd yno yn 1754. Yr oedd yn ewythr, frawd ei dad, i'r Parch. Joseph Hughes *(Carn Ingli)*, ficar Meltham, sir Gaerefrog. Cafodd ddysgeidiaeth dda, hyd i'r Groeg a'r Lladin. Ymsefydlodd fel ysgolfeistr yn Nhref Dafydd, ger ei gartref, lle hefyd yr arferai bregethu mewn capel, a ystyrir yn gapel Eglwysig, cyn ymraniad y Methodistiaid oddi wrth yr Eglwys Sefydledig. Dywedir iddo gyhoeddi rhai pethau ereill, megys 'Marwnad y Rhagrithiwr.' Bu farw yn 1799, yn 45 oed; a chladdwyd ef ym mynwent Llanychlwydog.†

11. 'Llythyrau at Gyfaill ar y Pwngc o Fedydd. Gan y Parchedig B. Evans.

Caerfyrddin. Argraphwyd gan J. Ross, yn Heol-Awst, 1788.'

Cynnwysa naw o lythyrau, yn gwneyd llyfr o 48 tudalen 12plyg. Dadleuon ydyw â'r Dr. W. Richards, o Lynn.

[Yr awdwr ydoedd y Parch. Benjamin Evans, o'r Dref Wen, Ceredigion.]

12. 'Thesaurus Ecclesiasticus: An Improved Edition of the Liber Valorum; containing an Account of the Valuation of all the livings in England and Wales; their Charge in the King's Books, respective Patrons, &c. With Appendix containing I. Certain Papers of Instruction and Direction, relative to Ordination, Institution, Queen

* Gwel rhif 2.

† *Yr Haul*, 1863, t. 47-9. [Cymh. rhif 14, d.f. 1788.]

Ann's Bounty, &c. II. Substance of the Act for promoting, the Residence of the Clergy, by faciliating the Building of Parsonage Houses. III. The Nature of Tithes illustrated, with an Account of all things tithable, and the Manner of collecting them. IV. The Matter of Agistment Tithe summarily explained, in a Statement of the case of the Vicar of Holbeach. By the Rev. John Lloyd, A.B. Late of Jesus College, Oxon.

London: Printed for Lockyer Davis, in Holborn, printer to the Royal Society. MDCCLXXXVIII.'

Y mae yr uchod mor briodol i Gymru a phe buasai yn perthynu ond i Gymru yn unig, gan fod cymmaint ynddo o'r 'Liber Valorum' ag sydd yn cymmeryd i mewn y pedair esgobaeth Gymreig.

13. 'Marwnad Mrs. Mary Morice, gwraig Mr. David Morice, Pregethwr yr Efengyl; Yr hon a gafodd ei symmud o'r Byd hwn o ddeutu Mis Ebrill 1788. At ba un y chwanegwyd Rhai o Fyfyrdodau Mr. David Morice, ar cyfryw Achos. Diar. 10. 7. Coffadwriaeth Cyfiawn sydd fendigedig, ond Enw'r Drygionus a bydra. Gan William Williams.

Caerfyrddin, Argraffwyd J. Ross, yn Heol-Awst, M,DCC,LXXXVIII.' [12plyg: 8 tudalen.]

14. ¶ 'Marwnad Ioan Harri, o Dref Amlod. Gan Owen Hughes.

Caerfyrddin.'*

15. ¶ 'Gweddi i'w harfer tra byddo ei Fawrhydi dan bwys y dolur presennol.

Llundain.'

16. ¶ 'Cyfoeth i'r Cymry. Ymadroddion. O gasgliad Toplady. Cyfieithwyd gan Peter Williams.

Caerfyrddin.'

Mr. TOPLADY ydoedd offeiriad efengylaidd o egwyddorion uchel Galfinaidd, pleidiol i Fethodistiaeth fel ei cefnogid gan yr Arglwyddes Huntingdon. Yr oedd hefyd yn olygydd y *Gospel Magazine*, yr hwn oedd gyhoeddiad cyfnodol y blaid o Fethodistiaid Calfinaidd yn yr oes hono.†

* [Gweler rhif 10, dan y flwyddyn hon.]

† [Augustus Montague Toplady a anwyd yn Ffarnham, Surrey, yn y fl. 1740; cafodd ei ddysg yn Ysgol Westminster, ac yng Ngholeg y Drindod, Dulyn; a bu farw yn ebrwyad Broad Henbury, yn Nyfnaint, yn 1778. Lleinw ei ysgrifeniadau chwech cyfrol.]

17. 'History of Wales, in nine Books: with an Appendix. By the Rev. William Warrington, Chaplain to the Right Honourable the Earl of Besborough. The Second Edition.

London: Printed fod J. Johnson, No. 72 St. Paul's Churchyard. MDCCLVXXXIII.'

[Y mae yr awdwr eisoes (rhif 14, d.f. 1786, a rhif 13, d.f. 1787) wedi cofrestru *dau* argraffiad. Rhaid gan hyny fod hwn yn drydydd argraffiad, neu ynte, bod y trydydd wedi ei gofnodi yn lle yr ail d.f. 1787, a'r ail yn y lle y trydydd. A ganlyn yw rhagddalen y trydydd argraffiad, yr hwn sydd yn awr o'm blaen :—

'The History of Wales, in Nine Books : With an Appendix. By the Rev. William Warrington, Chaplain to the Right Hon. the Earl of Besborough. In two Volumes. The Third Edition.

London: Printed for J. Johnson, N°. 72, St. Paul's Church-Yard. M DCC LXXXVIII.' 8vo.

Nid wyf wedi gweled yr ail a'r trydydd argraffiad. Sonia yr awdwr ar ddiwedd y Rhagymadrodd i'r argraffiad hwn, ei fod dan rwymau i 'Mr. William Owen, of London,' am ddiwygio llythyraeth y geiriau a'r enwau Cymraeg.]

Diwygiwyd llythyreniaeth y geiriau Cymreig i'r argraffiad hwn gan y Dr. W. Owen Pughe, ac y mae parthlen o Gymru ynddo, gan yr un, yng nghyd ag achau Tywysog Cymru. Y mae ynddo gyfieithiad Seisonaeg o gywydd Llywarch Hen ar farwolaeth Cynddylan, Tywysog Powys, gan y Parch. John Walters, awdwr y 'Dictionary.'* Y mae yr awdwr yn cydnabod hefyd y cynnorthwy a gafodd gan y Parch. John Lloyd, gynt o Gaerwys,† yr hwn a fu farw yn 1814, yn 81 oed, ac ym mhen ychydig wythnosau ar ei ol, Ann ei wraig, yn 80 oed, a'r hon oedd yn ferch David Thelwall, Ysw., o Flaen Ial.‡

18. 'Coffadwriaeth o Dir Angof, neu Farwnad y Parchedig Mr. Evan Davies, gynt Gweinidog yr Efengyl yn Eglwys Bethesda, yn sir Fynwe. Ymadawodd ar Byd Ebrill 22, 1788, yn 79 oed. Gan Dafydd William.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Daniel.'

19. 'Marwnad o Goffadwriaeth am Mr. John Jones, o Ferthyr-Cynnog, yn Sir Frecheiniog.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Daniel, yn Heol-y-Brenin, 1788. Lle gellir cael ar werth, newydd ei gyfieithu i'r Gymraeg, Esponiad ar y Deg Pennod Gyntaf o Genesis, o Saesonaeg yr enwog Mr. Bunyan, Pris Swllt, ynghyd ag Elw da i ail-werthwyr'

* [Nid John Walters y geirlyfrwr yw y gwr y cydnebydd Warrington ei rwymedigaethau iddo, ond ei fab, o'r un enw, athraw Ysgol Rhuthyn : gweler rhif 15, d.f. 1780 ; a rhif 21, dan y flwyddyn hon.]

† Preface and note to page 504, second edition [p. 312, 3rd. Edit.].

‡ *Gent. Mag.* vol. lxxxiv. part i. p. 523 ; gwel rhif 14, d.f. 1786 ; a rhif 13, d.f. 1787. [Yr oedd Mr. Llwyd yn dad i'r diweddar foneddiges wladgar Angharad Llwyd.]

Y mae hefyd yn gyssylltiol,

20. 'Can Dduwiol: neu Gyngor i'r Rhegwr, y Tyngwr, a'r Masweddwr. Gan Ifan Dafydd, o'r Llan-Newydd.'

21. 'Toxophilus, the Schole of Shootinge. Written by Roger Ascham, 1544, &c. &c. To which are added, a Dedication and Preface. By the Reverend John Walters, M.A. Master of Ruthin School, and late Fellow of Jesus College, Oxford.

Wrexham: Printed by R. Marsh. MDCCLXXXVIII.' [12mo.]

[ROGER ASCHAM ydoedd un o wŷr enwocaf oes dryfrith o enwogion. Ganwyd ef Kirby Wisk, yn agos i North Allerton, yn swydd Gaerefrog, yn y fl. 1515; a gorphenodd ei ddysg yng Ngholeg St. Ioan, Caergrawnt, yr hwn oedd yn un o'r rhai mwyaf brigog yn y brifysgol y pryd hwnw yn gystal a'r pryd hwn. Bu yn athraw ac yn ysgrifenydd Lladin i'r Frenines Elisabeth; teithiodd ar Gyfandir Ewrop; ac ysgrifenodd lawer o lyfrau dyddorol, rhai yn Seisoneg, a rhai yn Lladin; a bu farw yn 1568. Yr oedd yn hoff iawn o ymddifyru mewn saethyddiaeth; ac i amddiffyn y difyrwch hwn yr ysgrifenodd y 'Toxophilus,' yr hwn a gyhoeddwyd gyntaf yn 1545. Adargraffwyd ef wedi hyny yn 1571 a 1589; ac hyd y gwyddys, yr argraffiad a gofrestrir yma, gyda rhaglith o waith y Parch. John Walters (mab y geirlyfrwr o'r enw), ydyw yr olaf. Gwaith enwog arall o'r eiddo Ascham a elwir y 'Scholemaster,' neu draethawd ar y ffordd oreu i ddysgu yr iaith Ladin, yr hwn sydd wedi ei adargraffu yn fynych. Ysgrifenai Ladin yn hynod goeth. Yr oedd Ascham yn wr eglwysig; ond ni ddyoddefodd un anghyfleusder o herwydd hyny hyd yn oed yn nheyrnasiad Mari. Nid oes un berthynas rhwng y 'Toxophilus' a llenoriaeth Gymreig, ond yn unig bod rhagymadrodd i'r argraffiad hwn o hono o waith Cymro.]

22. 'Eight Sermons upon Practical Subjects preached at the New Church in Llangeitho, South Wales; by the Rev. Mr. Daniel Rowlands; and now Attempted to be Translated from the Original or British Language.

Hull: Printed and Sold by T. Briggs, in Church-Lane. M.DCC.LXXXVIII.'

Yr oedd hwn yn drydydd argraffiad;* yn yr hwn y mae y 'To the Reader' wedi ei adael allan, yn lle yr hwn y mae 'Advertisement,' ac yna 'To the Christian Reader' yn llenwi un tudalen, yn cynnwys un darn yn wreiddiol, a'r diweddaf o 'Address' yn 1774, wedi ei gyfnewid beth, ac wrtho 'T. B. Hull, Feb. 19. 1788;' sef T. Briggs, yr argraffydd, mae yn debyg. Y mae yr argraffiad hwn yn cynnwys pregethau ix., x., xi.' Dywed Owen, yng *Nghofiant Rowlands*, na chyfieithwyd y pedair ddiweddaf, yr hyn nid yw gywir, o berthynas i'r tair uchod. Cynnwys y gyfrol 427 o dudalenau 12plyg; ac y mae rhestr o danysgrifwyr yn Hull, Bridlington, Beverley, Barrow, Baton, Feraby, a Scarborough, yn cynnwys yn agos i chwech tudalen yn y dechreu.†

* Gwel rhif 23, d.f. 1774.

† *Llythyr* y Parch. T. James, A.C.H. *(Llallawg)*.

23. 'Nodau y Gwir Gristion, Yn cael eu profi o'r Ysgrythyrau. Ynghyd â rhai Lloffion o Ddifinyddiaeth, A gymmerwyd allan ar y cyntaf o'r Iaith Saesonaeg. At ba un y chwanegwyd Dwy Hymn, O waith y diweddar Barchedig Mr. Davies, o Gastellnedd.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Daniel, yn Heol-y-Brenin, ac ar werth ym Machynlleth, gan I. Owen.'

Er nad oes amseriad yma, dywedir mewn hysbysiad ar gefn y rhagddalen, y cyhoeddid 'Y Dinasoedd Sanctaidd, yn gynnar yn y Flwyddyn nesaf, 1789;' felly yn 1788 y cyhoeddwyd hwn.

24. ¶ 'An Essay towards an History of the English Tongue, of the British or Welsh, &c. By — Free. 1788.'

25. ¶ 'Drych i'r Anllythyrenog, &c.

Trefecca 1788.'

Gwaith Robert Jones, gynt o Roslan, Llanystumdwy, ydyw.

26. ¶ ['Bendigedig Goffadwriaeth y Cyfiawn. Neu Ddwy Farwnad I, O goffadwriaeth am y Parchedig Mr. Evan Williams, gweinidog yr Efengyl yn y Bala. yr hwn a orphenodd ei daith lafurus, Ebrill. 29. 1786. yn 65 Oed. II. O goffadwriaeth am y Parchedig Mr. Rees Harris, gweinidog yr Efengyl ym Mhwllheli, yr hwn a orphenodd ei daith lafurus Mai 26. 1788. yn 50 Oed. Ynghyd a rhai Hymnau newyddion. Gan William Hughes.

Trefriw Argraphwyd.' 16plyg: 16 tndalen.

Ni fynegir gan bwy, na pa bryd y cafodd y llyfryn ei argraffu.]

27. ['Llythyr oddi wrth Gymmanfa o Weinidogion, a gyfarfu yn Llanbrynmair, yn Sir Drefaldwyn, Mai 21 a'r 22, 1738. At Eglwysi yr Ymneillduwyr Protestanaidd; yn Nghymru; a elwir yn gyffredin Independiaid. Yr oeddynt hwy oll yn gyttun yn yr un lle. Act. 2. 1.

Trefecca: Argraphwyd yn y Flwyddyn MDCCLXXXVIII.' 16plyg: 12 tudalen.

Dywedir mai y Parch. Richard Tibbott, o Lan Bryn Mair, a gyfansoddodd y Llythyr uchod.*]

28. ['Marwnad, er Coffadwriaeth o Farwolaeth y Parchedig Mr. John Harries. o Sir Benfro.

Mae Pererinion ffyddlon Cymru,
Am wel'd Marwnad i Shon Harry:
Os bydd rhywddyn yn tramgcwyddo,
Nad roed hwnnw help i brinto.

Gan Tomos Dafydd.

* *Llylhyr* Mr. R. Williams.

Caerfyrddin, Argraphwyd I. Daniel, yn Heol-y-Brenin, lle'r ar-grephir pob Math o Gopiau am Bris rhesymol; ac y ceir amryw Fath o Lyfrau Ysgol, newydd ac ail-law, ynghyd ag elw cymhedrol i Siop-wyr, &c a bryno Nifer o honynt ynghyd. MDCCLXXXVIII.' 16plyg: 12 tudalen.*]

29. ¶ [' Myfyrdod Pererin, Neu, Ychydig o Hymnau Efangylaidd, Wedi eu cymmeryd allan o Amryw Destunau o'r Ysgrythurau Sanctaidd, a'u hamcanu er Diddanwch Pererinion Sion, ar eu Taith a'u Rhyfeloedd tu a'r Jerusalem Nefol, Heb. xii. 22. Gan William Davies o Gastell-nedd, a chan Dafydd William, Awdwr Gorfoledd ym Mhebyll Seion.

Y pennaf peth wy'n 'mofyn, a'r werthfawroccaf fraint,
Adnabod Crist yn briod, a'm henw ymhlith y Saint:
A llwyddiant bob munudyn i'r 'Fengyl, nefol iaith
A thitheu, fy Narllenydd, boed i ti ddedwydd daith.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Daniel, yn Heol-y-Brenin, lle'r argrephir pob Math o Gopiau am Bris rhesymol; ac y ceir amryw Fath o Lyfrau Ysgol, newydd ac ail-law, ynghyd ag elw cymhedrol i Siopwyr &c. a bryno Nifer o honynt ynghyd.'† 12plyg.]

## 1789.

1. 'Crynodeb o Egwyddorion Crefydd, neu Gatecism byrr i blant ac eraill, i'w dysgu. Gan y Parch. T. Charles, A.B.

Trefecca, Argraphwyd yn y flwyddyn M,DCC,LXXXIX.'

Yr uchod ydoedd yr argraffiad cyntaf o 'Gatecism' Mr. Charles; yr hwn a gyhoeddwyd wedi hyny o dan yr enw 'Hyfforddwr,' ac a fu mor boblogaidd yn Ysgolion Sabbothol y Methodistiaid Calfin-aidd, ac ereill, am dros drigain mlynedd. Un bychan 32plyg ydoedd y cyntaf hwn.

2. 'Nodau y Gwir Gristion, yn cael eu profi o'r Ysgrythyrau, &c.

Caerfyrddin.'

[Ymddengys mai yr un yw hwn â rhif 23, d.f. 1788; canys ni chrybwyllir fod hwn yn ail argraffiad.]

3. 'Enw yn y Nefoedd, y sail gywiraf o lawenydd. Ar Luc x. 20. A Gallu Gras, yn diddyfnu'r galon oddiwrth y Byd ar Salm cxxxi. 2. Wedi ei gosod allan mewn Dwy Bregeth. Gan y diweddar Barch-edig Mathew Mead, Gweinidog yr Efengyl.

Trefecca: Argraphwyd yn y Flwyddyn MDCCLXXXIX.'

* *Llythyr* Mr. R. Williams.

† *Llythyr* Mr. R. Williams.

4. 'Difrifol Ystyriaeth: sef I. Pa beth yw dyn, II. A pha beth yw Duw. At ba un y chwanegwyd, Hunan-ymholiad oddiwrth Weddi yr Arglwydd, ynghyd a rhai o Hymnau.

Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth gan Ioan Daniel, a chan I. Owen, ym Machynllath.'

Heb law yr uchod, cynnwysa y llyfryn bychan hwn o 24 tudalen, 'Carol Plygain Ddydd Natolic,' gan 'Richard Powel;' a 'Marwnad, Nei goffadwriaeth, am y Parchedig ar anhepgor Athraw Mr. Daniel Rowlands, Gweinidog Llangeitho yn Swydd Geredigion: iw ganu ar Ymadawiad y Brenhin. Gan Methusalem Dafydd Towyn.'

5. 'Ffordd i fod yn Happus mewn Byd Truenus.

Caerfyrddin.'

6. 'Y Ddinas Sanctaidd, neu'r Jerusalem Newydd, &c. Gan y duwiol a'r enwog was hwnw o eiddo Crist, y Parchedig Mr. John Bunyan. Wedi ei gymreigio yn ofalus ac yn ffyddlon, er budd y Cymry uniaith, gan John Thomas.

Caerfyrddin, Argraffwyd ac ar werth gan Ioan Daniel, yn Heol-y-Brenin, &c. 1789. [Pris 1s. wedi ei wnio, a 2s. 6ch. wedi ei rwymo gyda'r esponiad ar y deg pennod gyntaf o Genesis.']

Dyma yr ail lyfr o eiddo Bunyan, a gyhoeddwyd gan Mr. Daniel, er ymdrechu cyhoeddi ei fwriad o gyhoeddi ei holl waith.

7. 'Amddiffyniad yn erbyn y Cyhoeddiadau a wasgarwyd yn ddiweddar gan y Sosiniaid. Ymha un y dangosir yn amlwg Annuwioldeb ac Afresymoldeb eu Hegwyddorion, &c. A osodwyd allan gan Wr Eglwysig at ei blwyfolion. At ba un y chwanegwyd Pregeth ar y Drindod yn Undod. Yr Argraphiad cyntaf yn Gymraeg.'

Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Daniel, yn Heol-y-brenin, M,DCC,LXXXIX.'

8. 'Pregeth ar yr Adgyfodiad Cyffredinol, yn Saesonaeg, gan y Parch. Samuel Davies, diweddar olygwr ar y Colledge yn Princeton, yn Jersey Newydd, yn America. Wedi ei chyfieithu i'r Gymraeg gan y Parch. M. Jones.

Argraffwyd yng Nghaerfyrddin gan I. Daniel.'*

MORGAN JONES, cyfieithydd y bregeth ragorol uchod, ydoedd fab Evan ac Ann Jones, o Droed y Rhiw Cwm y Glyn, ym mhlwyf Llywel, yn sir Frycheiniog, lle y ganwyd ef yn 1768. Cafodd ei

* Cyhoeddwyd y bregeth ragorol hon yn yr *Eurgrawn Wesleyaidd*, am 1812, t. 277, 332.

ddysgeidiaeth gan weinidog enwog ym mhlith yr Ymneillduwyr yn yr oes hòno, sef y Parch. J. Griffith, Glandwr, ger Abertawy,* lle y cyrhaeddodd radd o wybodaeth o'r ieithoedd Seisoneg, Lladin, Groeg, a Hebraeg. Ar ei ymadawiad o'r ysgol, derbyniodd alwad i weinidogaethu i gynnulleidfa Capel y Graig, Trelech, lle y bu yn weinidog llafurus a defnyddiol hyd ei farwolaeth, yr hyn a gymmerodd le Rhagfyr 23, 1835, yn 67 oed.†

9. 'Caniadau Preswylwyr y Graig, sef Ychydig Hymnau, yn cynnwys Ocheneidiau, Ymdrechiadau, a Buddugoliaethau; Y Pererinion wrth ymdeithio o'r Aipht ysprydol tua'r Ganaan Nefol. Gan John Williams, Aberystwyth.

Machynlleth: Argraphwyd dros yr Awdwr, ag ar werth yno gan Titus Evans. Pris dwy geiniog. M DCC LXXXIX.'

TITUS EVANS ydoedd frodor o'r Deheudir, a chyllidydd wrth ei alwedigaeth, a thra yr oedd yn byw ym Machynlleth, efe a ymgymmerodd â'r gelfyddyd o argraffu. Priododd â merch Mr. Jones, Esgair Ifan, yn y gymmydogaeth hòno. Yr oedd hi yn chwaer i wraig y diweddar Barch. R. Parry, Eglwys Fach Glan Conwy. Yr oedd ei thad yn berchenog ar amryw dyddynod, yr rhai sydd yn awr ym meddiant gwahanol gangenau o'r un teulu, megys Cwm Bychan Mawr, a Chwm Bychan Bach, ym mhlwyf Darowain. Yr oedd T. E. yn rhwymo llyfrau hefyd. Cafodd wedi hyny ei ddiswyddo o'r gyllidfa, o blegid, mae yn debyg, iddo gyssylltu masnach â'i alwedigaeth gyllidol. Wedi marwolaeth ei wraig symmudodd, ef a'i blant, trosodd i America, a chymmerodd ei egwyddorwas, Edward Prichard, y gelfyddyd o argraffu, fel ei ganlyniedydd. Yr awdwr,

JOHN WILLIAMS, ymddengys, ydoedd frodor o'r Gogledd, a'r hwn a ddaeth yn 1788 i gymmydogaeth Aberystwyth i bregethu ym mhlith y Bedyddwyr, ac i gadw ysgol. Yn 1789, efe a ordeiniwyd i gyflawn waith y weinidogaeth ar y gynnulleidfa a gyfarfyddai yn Aberystwyth a'r Penryn Coch. Bu yno hyd 1790, pryd y symmudodd i Abertawy yn 1791. Bu wedi hyny mewn rhyw fath o undeb â'r Undodiaid yn Aberdâr. Ymlygrodd hefyd yn ffiaidd yn ei ymarweddiad; ac felly, hyd y gwyddys, y terfynodd ei oes.

10. 'Llythyrau at Gyfaill ar y Pwngc o Fedydd. Ynghyd ag Amddiffyniad o honynt, mewn 'chwanegol Lythyrau. Gan y Parchedig B. Evans.

Caerfyrddin: Argraffwyd gan I. Ross, yn Heol-Awst. 1789.'

11. 'Barddoniaeth Dafydd ab Gwilym. O Grynhoad Owen Jones, a William Owen.

* [Glandwr, swydd Benfro, nid y lle o'r enw ger Abertawy.]

† *Hanes Ymneillduaeth*, gan Morgan, t. 453.

Llundain, Argraffwyd gan H. Baldwyn, yn argraffdy y St. James's Chronicle. MDCCLXXXIX.'*

DAFYDD AB GWILYM a anwyd mewn lle a elwir Bro Gynin, ym mhlwyf Llanbadarn Fawr, yn sir Aberteifi, o ddeutu y flwyddyn 1340. Mab ydoedd i Gwilym Gam, yr hwn oedd fab i Dafydd ab Ieuan ab Hywel ab Cynwrig ab Gronwy ab Meredydd ab Madog ab Iorwerth ab Llywarch ab Brân, yr hwn oedd sylfaenwr un o Bymtheg Llwyth Gwynedd. Ei fam oedd Ardudful, chwaer i Llewelyn ab Gwilym Fychan, o Emlyn, yr hwn oedd yn berchenog ar Emlyn a Chryngae, yn sir Benfro, a Dôl Goch, yn sir Aberteifi. Treuliodd lawer o'i amser yn llys Ifor Hael, o'r Wenallt a Gwern y Clepa, ym mhlwyf Maesaleg, yn sir Fynwy. Dyn lled drythyll oedd Dafydd;† ac y mae llawer o'i waith yn folawdlau i'w gariadau. Dywedir iddo unwaith benodi cyfarfod â'i gariadau oll ar yr un awr, o dan dderwen yn y gymmydogaeth. Aeth ef ei hun yno yn brydlawn, a dringodd i frigau y pren, gan ymguddio yng nghysgod y cangenau, i glywed y canlyniad. Yr oedd pob un yno yn brydlawn, a phob un yn rhyfeddu gweled yr un fenyw yno ond ei hunan. Wrth weled ei fod wedi chwareu cast â hwy, penderfynasant y lladdent ef, pan y taflodd yntau gipolwg oddi rhwng y cangenau uwch eu penau, gan draethu yr englyn hwn:—

'Y butain wen fain fwynaf—o honoch,
I hôno maddeuaf,
Tan frig pren, a heulwen haf
Teg anterth, t'rawed gyntaf.'‡

Bu farw ym Mynachlog Tal y Llychau, o ddeutu y flwyddyn 1400; a chladdwyd ef yno.§ Dywed y golygyddion, i'r gwaith gael ei gym-

* [Fel hyn y mae yr argraffeb yn fy nghyfargraff i:—' Llundain: Argraphwyd gan H. Baldwin; ac ar werth gan E. a T. Williams, Strand; J. Daniel, Caerfyrddin; Morris Davis, Bala; T. Sandford, Mwythig. MDCCLXXXIX.' 8plyg.]

† [Nid oes un prawf o hyn, er bod lluaws mawr o'i gywyddau wedi eu cyfansoddi ar destynau serch. Ni cheir un bardd yn Ewrop, yn yr oes yr oedd efe yn byw ynddi, agos mor llednais ag ef. O'i gymharu â Shakspear, yr hwn oedd yn byw fwy na dau gan mlynedd ar ei ol, a'r hwn a addolir gymmaint gan y Seison, yr oedd yn burdeb ei hunan. Dafydd ab Gwilym, yn ddiau, ydyw y bardd ardderchocaf a ymddangosodd erioed ym mhlith y Cymry, a'r unig un o'r beirdd Cymreig y gellir gyda phriodoldeb ei gymharu â phrydyddion mawrion cenedloedd ereill. Haedda D. ab Gwilym lawer mwy o sylw ac edmygedd nag y mae wedi ei gael hyd yn hyn gan y rhif lluosocaf o'i gydwladwyr. Dylai'r Cymry fod yn falch o hono; a dwyn ei waith allan mewn diwyg teilwng o'r fath fardd.]

‡ [Adroddir cyffelyb chwedl am Ioan Meung neu Meun (Mean neu Mehan,—canys sillebir yr enw yn amryfath), bardd Ffrengig, a phrif awdwr 'Rhamant y Rhosyn,' yr hwn a anwyd o ddeutu y fl. 1250, ac a fu farw yng nghylch 1322. Geill y chwedl fod yn wir am y ddau fardd; geill fod Dafydd ab Gwilym wedi clywed am gast y bardd Ffrengig, ac iddo wneyd prawf o hono ei hun; a gall tro ystrywus Meung fod wedi ei briodoli i'r 'Petrarc Cymreig.']

§ Felly y dywed John Bradfford, allan o lyfr achau Thomas Jones, o Dregaron, medd *Ysgriflyfrau Iolo*, t. 94. [Nid oes fawr o ammheuaeth, i'm tyb i, nad ym Mynachlog Ystrad Fflur, ar lan Teifi, yng Ngheredigion, y claddwyd

meryd o 'Lyfrau y brodyr Lewys, Rhisiart, a Gwilym Morus o Fon,' ac nad yw y cynnulliad yma, er ei fod yn helaeth, yn cynnwys fawr dros hanner gwaith Dafydd ab Gwilym; ond eto, rhyfedd fod cynnifer wedi ymachub rhag disgyn i drigfanau anghof.* Y crynhowyr,

OWEN JONES a anwyd yn Llanfihangel Glyn y Myfyr, sir Ddinbych, yn 1741. Aeth yn ieuanc i Lundain, a chymmerwyd ef i wasanaeth blew-fasnachwr,† yn Heol y Tafwys, a daeth yn ddilynydd yn y fasnach, yr hon a 'ddygodd' ym mlaen hyd ei farwolaeth. Talodd lawer o sylw i'w wlad, ei genedl, a'i hiaith, trwy gasglu, mewn cyssylltiad â William Owen (Pughe), ac Edward Williams *(Iolo Morganwg)*, gymmaint ag a allai gael o ysgrifeniadau anghyhoeddedig Cymreig, hyd i 60 o gyfrolau 4plyg o ysgrifau. Yr oedd yn un o sylfaenwyr Cymdeithas y Gwyneddigion, Llundain. Bu farw Medi 26, 1814. Y llall,

WILLIAM OWEN, a adnabyddir yn well wrth yr enw Dr. W. O. PUGHE, a anwyd yn Nhy'n y Bryn, ym mhlwyf Llanfihangel y Pennant, yn sir Feirionydd, Awst 7, 1759. Ymsefydlodd yntau yn Llundain yn ieuanc, lle y daeth yn adnabyddus â'r O. Jones uchod, ac ereill o aelodau Cymdeithas y Gwyneddigion, y rhai a gefnogent bob athrylith Gymreig. Ei brif waith ydoedd ei *Eirlyfr* mawr; y *Myvyrian Archaiology; y Cambrian Biography; Traethawd ar Drin Tir;*‡ golygodd hefyd y *Cambrian Register* a'r *Greal*, y rhai a gyhoeddid yn Llundain. Cyfieithodd y *Paradise Lost*, o dan yr enw 'Coll Gwynfa.' Cyfieithodd hefyd Heber's *Palestine;* [Gray's *Bard*]; a llawer o ddarnau ereill o'r Seisonaeg i'r Gymraeg, ac o'r Gymraeg i'r Seisonaeg. Etholwyd ef yn Gymmrawd o Gymdeithas yr Hynafiaethwyr, ac anrhydeddwyd ef gan Brifysgol Rhydychain â gradd D.C.L. Bu farw yn Nolydd y Cae, goris Cader Idris, Mehefin 4, 1835, yn 76 oed.§ Yr argraffydd,

H. BALDWYN, a fu farw yn 1813, yn oedranus iawn.||

13. 'Ychydig o Reolau yw derbyn, a'i harfer gan bob dyn; ac a fydd am fod yn Gristion yn ol y Bibl. Yn ddwy ran. O gasgliad John Richard, Llangronw.

Machynlleth, Argraffwyd gan T. Evans. 1789.'

13. ¶ 'Ychydig o Hymnau, na buont yn argraffedig o'r blaen, o waith Edward Parry, o blwyf Llansannan, yn sir Ddinbych, ac hefyd o waith William Evan, o Fedw Arian, ger llaw'r Bala, yn sir Feirionydd, &c.

ef. Y mae yr hyn a ddywedir yn *Ysgriflyfrau Iolo* mewn perthynas i enedigaeth, bywyd, a marwolaeth y bardd, yn amlwg ddigon wedi ei dylino gan wŷr Morganwg, gyda'r amcan o'i wneuthur ef yn un o'u cydwladwyr hwynt: ac felly rhoddi i Forganwg yr anrhydedd a berthyn yn gyfiawnach i Geredigion. Nid ydyw Ystrad Ffun ym mhell o Fro Gynin, genidfan y bardd.]

* Meyrick's *Cardiganshire;* a rhagymadrodd y llyfr hwn.

† [Masnachwr pân, ffwrw, neu fynfyr ydoedd.]

‡ [Cyfieithiad yw y llyfr hwn o waith Seisoneg Thomas Johnes, Yswain, o'r Hafod.]

§ Williams's *Eminent Welshmen.*

|| Timperley's *Dictionary of Printers and Printing.*

Argraffwyd tros ddyn tlawd a elwir William Ellis, trwy ganiatad y brodyr Ynghymanfa Caerwys.'

14. ¶ 'Ychydig Benhillion er Coffadwriaeth am Robert Ellis, o'r Tŷ yn y Ddôl, yn agos ir Bala; yr hwn a orphennodd ei yrfa Rhagfyr 31. 1788. yn 33. oed. Ynghyd a rhai Hymnau newyddion. Gan Maurice Davies.

Trefriw Argraphwyd.' [12plyg: 16 tudalen.]

Aelod o'r Gynnulleidfa Ymneillduol o dan ofal y diweddar Barch. W. Thomas, Bala, ydoedd R. Ellis.

[Ni ddywedir gan bwy na pha bryd y cafodd ei argraffu; ond mae yn bur debyg mai yn y flwyddyn hon neu'r flwyddyn o'r blaen yr ymddangosodd.]

15. 'Atteb Byrr i Lyfr y Parchedig Mr. Benjamin Evans, ar y pwngc o Fedydd. Gan Ioan Rhys.

Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth gan I. Daniel, Heol y Brenin 1789. &c. [Pris Tair Ceiniog.]' 36 tudalen 12plyg.*

16. 'Marwnad, neu Goffadwriaeth o Ddedwydd Ymadawiad Mr. Miles David, Yr hwn a hunodd gyda'i Dadau yn Wyth a deugain Oed. Gan David Thomas.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Daniel.'

17. 'Y Beibl Cyssegr-lân, &c. Appwyntiedig i'w ddarllen mewn eglwysi.

Rhydychain: Printiedig yn Argraffdy Clarendon, tros y Gymdeithas er taenu Gwybodaeth Gristionogol. 1789.'

Beibl unplyg mawr i'r eglwysi ydoedd hwn. Y Parch. Henry Parry, ficar Llanasa, yn sir Fflint, ydoedd golygydd yr argraffiad hwn.†

[Argraffiad lled anghywir ydyw; ac ym mhlith pethau trwstan ereill a welir ynddo, ceir—'Epistol *Cyntaf* Paul yr Apostol at y *Colossiaid.*']

18. 'Dioddefiadau miloedd lawer o Ddynion Duon mewn caethiwed truenus yn Jaimaica a lleoedd eraill; yn cael eu gosod at ystyriaethau difrifol y Cymry hawddgar, er mwyn ceisio eu hennill i adael Siwgr, Triagl, Rum. Gan Gymro, gelynol i bob gorthrech.‡

Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth yno gan Ioan Daniel, yn Heol-y-Brenin; Mr. Ross, yn Heol-Awst; Mr. Tho. Morgan, wrth y farchnad, yn Abertawe; a Mr. O. Rees ym Mristo,—lle gellir cael ar werth Cân yn erbyn arferyd Siwgr. Pris Dimmeu (Pris Ceiniog.)'

* Gweler rhif 11, d.f. 1788; a rhif 10, uchod.

† Roberts, Tremeirchion, *Letter* to the Rev. W. Dealtry, p. 22.

‡ [Yr wyf yn barnu mai y Parch. Ben. Evans, o'r Dref Wen, ydoedd y Cymro hwn; ac efe hefyd, ond odid, oedd awdwr rhif 36.]

19. 'Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi. 1789.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Daniel, yn Heol-yBrenin, lle yr argrephir pob math o gopiau am bris rhesymol; a lle y gellir cael ar werth Esponiad ar y deg pennod gyntaf o Genesis, o waith Mr. Bunyan. Mae yn y wasg lyfr arall, o waith yr un awdwr, ac o'r un faintioli a elwir y Ddinas Sanctaidd, neu'r Jerusalem Newydd. Pob un o honynt yn werth Swllt, a'r ddau wedi eu rhwymo ynghyd fydd Hanner Coron. Elw da i'r rhai a bryno nifer o honynt ynghyd.'

20. 'Collection of Poems, published by W. Owen. 1789.'

Y casglydd ydoedd y Dr. W. O. Pughe.

21. 'Britannia, or a Chorographical Description of Great Britain and Ireland. By William Camden. Continued to the present time, by Richard Gough.

London. 1789.'

Y mae hwn yn waith mawr o dair cyfrol unplyg.

22. 'Marwnad ar farwolaeth Mrs. Hannah Williams, o'r Bont-hir, ym mhlwyf Llangatwg, gerllaw Caerlleon, yn sir Fynwy, yr hon a fu farw, Rhagfyr 3. 1788, yn 70 oed. At ba un y chwanegwyd Hymn Newydd, gan Dafydd William, o Gaerfyrddin.

Caerfyrddin. Argraphwyd gan I. Daniel. 1789.'

Cristionoges dda, berthynol i gynnulleidfa y Bedyddwyr yn Hengoed, ydoedd y wraig hon.

23. 'Athrawiaeth Bedydd Dwfr yn cael ei Hamddiffyn, a'i Llygriad gan Mr. B. Evans, yn ei Lythyrau diweddar ar y Pwngc o Fedydd yn cael ei brofi; a'r Bedyddwyr yn cael eu cyfiawnhau oddiwrth amryw Achwynion camweddus a ddygir i'w herbyn yn y Cyhoeddiad hwnnw: Mewn amryw Lythyrau at Gyfaill. Gan William Richards.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Daniel, yn Heol-y-Brenin. MDCCLXXXIX.' [12plyg: 92 tudalen.]

Yr awdwr ydoedd y Dr. W. Richards, o Lynn.

24. 'Galarus Hanes am Farwolaeth 44 o Bobl a gollasant eu bywydau ar yr un amser, ar y Nos Fercher diweddaf o Fis Medi 1789, &c.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Daniel, yn Heol-y-Brenin.'

Pysgodwyr ysgadan sir Aberteifi oeddynt.

25. ¶ 'Marwnad Catherine Jones, Trefddyn.

Caerfyrddin.'*

26. ¶ 'Ffurf Gweddi, &c. i'w Harfer —— Gwared — Penllywydd oddiwrth y Clefyd.

Llundain.'†

27. ¶ 'Works and Life of the Rev. J. Gambold.' Unplyg. [8plyg.]

28. 'Primitive History from the Creation to Cadmus. By W. Williams Esqr. Formerly of St. John's College, Cambridge.

Chichester, Printed and sold by J. Seagrove. 1789.'

WILLIAM WILLIAMS ydoedd fab Wm. Williams, Ysw., o Ivy House(=Ty Eiddew), sir Benfro. Ei fam ydoedd Elisabeth, merch — Davies, o'r Cwm, yn sir Gaerfyrddin. Ganwyd ef yn 1738. Priododd un Miss Jermyn. Bu unwaith yn sir Benfro. Treuliodd oes hir yn efrydu hynafiaeth, a chyfrifid ef yn ysgolhaig enwog. Yr oedd y llyfr yn cael ei gyhoeddi trwy danysgrifiad o 1*p*. 1*s*. am un wedi ei argraffu ar bapyr tew, a 10*s*. 6*c*. am y rhai llai.‡

29. 'Yr Udgorn Arian, neu Hyfryd Swn yr Efengyl, mewn ychydig o Hymnau Newyddion, ar amryw Destynau o'r Ysgrythyrau Sanctaidd. Wedi eu hamcanu er Budd a Diddanwch i holl ffyddlon Ddilynwyr yr Oen tua'r Jerusalem Newydd, o Wlad y Caethiwed i Wlad o Rydd-did. Gan Dafydd Wiliam.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Daniel, yn Heol-y-Brenin. MDCCLXXXIX.' 12 tudalen 12plyg.

30. ¶ 'Marwnad: sef, Coffadwriaeth o ddedwydd o Farwolaeth y Parchedig Mr. James Thomas, O Ros-ychen, yn Plwyf Trelech, yn Sir Gaerfyrddin, a ymadawodd o'r Byd, i Fyd yr Ysprydoedd, Ebrill 13, 1788, yn 38 Oed. Dechreuodd bregethu yn 20 Mlwydd Oed; dewiswyd ac ordeiniwyd ef yn Weinidog yr Efengyl yn 26 Oed, yn y Pant-Teg a Phen-Pont-Llandysil: Lle y bu ef yn Weinidog defnyddiol, llwyddiannus, diwyd, llafurus, duwiol, ac ymdrechgar dros ei Arglwydd ymhlaid y Ffydd, yr hon a roddwyd i gadw unwaith i'r Saint, Jude Adnod 3, hyd oni ddaeth yr Alwad oddiwrth ei Waith at ei Wobr. A gyfansoddwyd gan Dafydd Wiliam.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Daniel, yn Heol-y-brenin. Lle yr argrephir yn ofalus pob math o Gopiau am Bris rhesymol.'

* *Ysgrif* Mr. B. Davies, Ysgolfeistr.

† *Ysgrif* Mr. B. Davies, Ysgolfeistr.

‡ *Llythyr* J. Joseph, Yswain; gwel hefyd yr *Archæologia Cambrensis*, 1859.

31. 'Y Rhybuddiwr Christionogol; yn cynnwys Annogaeth Ddifrifol i Fuchedd Sanctaidd: Gyda rhai Hyfforddiadau tu ag at yr unrhyw. Wedi ei hysgrifenu mewn ffordd eglur a hawdd, i bob math ar bobl. Wedi ei gyfieithu allan o'r deuddegfed Argraphiad yn y Saisonaeg.

Llundain: Printiedig gan J. F. & C. Rivington, yn Monwent Sanct Paul. MDCCLXXXIX.'

32. 'Observations on the River Wye, and several Parts of South Wales. By W. Gilpin. The Second Edition. 1789.'*

33. 'The Trial of Thomas Phipps, the Elder, Thomas Phipps, the Younger, and William Thomas, for Forgery, at the Assize holden at Shrewsbury, for the County of Salop, before the Hon. Sir Richard Perryn, Knt. One of the Barons of his Majesty's Court of Exchequer, Westminster. (The two former of whom were executed on Saturday the 5th of September, 1789.) Third Edition.

Oswestry: Printed and Sold by J. Salter. Sold also by Messrs. Robinson, No. 25, Paternoster-Row, London; Mr. Wood, Shrewsbury; Mr. Poole, Chester; Mr. Wright, Whitechurch; Mr. Hughes, Wrexham; Mr. Madox, Ellesmere; Mr. O. Jones, Welsh-Pool; Mr. Thomas, Ludlow; Mr. Swinney, Birmingham; Mr. Parker, Hereford; and Mr. Harries, Leominster. M,DCC,LXXX,IX. [Price One Shilling.]'

Llyfryn 4plyg, o 22 tudalen ydyw. Yr oedd yr amgylchiad yn gwneyd y fath siarad ar y pryd, a'r fath ymofyniad am hysbysiaeth o'r amgylchiadau, fel y galwyd am dri argraffiad mewn tri mis.

34. ['Rhodd i'th Gymmydog; Neu, Iawn Adnabyddiaeth o Dduw, ac o Honom ein Hunain; Wedi ei Agoryd mewn Modd Amlwg, Buddiol, a Phrofiadol. Gan Sir Richard Hill, Marchog. O Gyfieithad y Parchedig Thomas Jones, Yr Ail Argraphiad, allan o'r ddwyfed ar bymtheg yn Saesneg.

Mwythig Argraphwyd gan T. Wood. M,DCC,LXXXIX.' 12plyg: 36 tudalen.†]

35. ['Pregeth ar Ddihenyddiad Moses Paul, Indian, yr hwn a gafwyd yn euog o Lofruddiaeth. A bregethwyd yn New-Haven, yn America, Gan Sampson Occom, Indian Genedigol. At ba un y chwanegwyd Hanes Fer o Lwyddiant yr Efengyl ymhlith yr Indiaid, ynghyd â Hanes ryfedd o Droedigaeth Indian, a elwir Pagey, ymha un y cynhwysir Desgrifiad ardderchog o'r anfeidrol Un yn Dri, a'r Tri yn Un, gan Iesu Grist.

* Gwel rhif 22, d.f. 1782.

† Gwel rhif 3, d.f. 1783.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan John Daniel, yn Heol-y-Brenin, 1789.' 12plyg: 32 tudalen.]

36. ¶ ['Achwynion Dynion Duon, mewn Caethiwed Truenus yn Ynysoedd y Suwgr.'

Caerfyrddin.

Papyryn argraffedig ar un wyneb i'r ddalen yn unig yw y cwyn uchod; ni fynegir pwy a'i hargraffodd, nac ym mha flwyddyn yr ymddangosodd: ond y mae yn debygol mai gwaith yr un awdwr â rhif 18, dan y flwyddyn hon, ydyw, ac mai o gylch yr un amser yr argraffwyd ef. Cynnwysa 12 pennill o wyth linell bob un, ar y mydr saith a chwech.]

## 1790.

1. 'Tragywyddol Orphwysfa'r Saint, neu Draethawd ar ddedwydd Gyflwr y Saint yn y mwynhad o Dduw yn y nefoedd. A 'sgrifenwyd gan y Parchedig dysgedig a duwiol Mr. Richard Baxter. A gymreigiwyd gan Thos. Jones, curad Creaton, yn sir Northampton.

Argraphwyd yn y Mwythig; ac ar werth gan J. a W. Eddowes. M,DCC,XC.'

Argraffwyd 3000 o hwn, i'w gwerthu am swllt, a rhoddodd y cyfieithydd yr holl elw tuag at Ysgolion Rhad Cymreig Mr. Charles o'r Bala; ond buasai y gwerthiant yn llawer mwy oni buasai i Mr. Williams, Pant y Celyn, yn ei farwnad i Mr. Daniel Rowlands, restru Baxter gyda'r Arminiaid, ac ereill, nad ystyrid gan Galfiniaid yn hollol uniawngred.*

2. 'Yr Happusrwydd o nesau at Dduw, wedi ei egluro mewn Pregeth. Gan Thos. Watson.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Ross.'

Thomas Watson, A.C., a gafodd ei ddysg yng Nghaergrawnt, lle yr hynododd ei hun fel efrydydd caled. Yr oedd yn dra dysgedig, ac yn bregethwr poblogaidd. Bu yn gweinidogaethu yn St. Stephan, Walbrook, Llundain, yr hwn le oedd yn werth 100*p.* yn y flwyddyn, o'r lle y cafodd ei droi allan ar Wyl Bartholomëus, o blegid ei anghydffurfiaeth.† Y mae gwaith o'r eiddo o'r enw 'Corff o Dduwinyddiaeth,' wedi ei gyhoeddi yn Gymraeg yn y ganrif hon. Y mae llawer ychwaneg o i waith yn Seisoneg, pregethau gan mwyaf.

3. 'Gweddiaf â'r Yspryd, neu Draethawd ar Weddi, &c. Gan John Bunyan.

Caerfyrddin.'

4. 'Rhwygiad Llen y Deml; neu fynedfa i'r Sanctaidd Sancteiddiolaf trwy Farwolaeth Crist, &c. Gan y Parch. Ralph Erscin, A.M. awdwr y llyfr a elwir Marw i'r Ddeddf.

* Owen's *Memoir of the Rev. T. Jones.*
† Palmer's *Calamy's Non-Con. Mem.* vol. i. p. 183.

Caerfyrddin.'

5. 'Cynnulliad Barddorion, i Gantorion; sef Carolau, Cerddi, ac Englynion. Gan Daniel Jones [o blwyf Rhuabon.]

Croesoswallt: Argraphwyd ac ar werth gan J. Salter. M,DCC,XC. Pris Swllt yn rhŷdd, neu Ddeunaw yn rhwŷm.'

Y mae rhagymadrodd bychan gan 'Daniel Jones, o blwyf Rhuabon.'

6. 'Y Beibl Sangtaidd; Sef yr Hen Destament a'r Newydd, â Nodau ysgrythyrol ar ymyl y ddalen, wrth y rhai y gwelir mai'r Ysgrythur yw Deonglydd cywiraf o'r Ysgrythur.

Trefecca, Argraphwyd dros y Parchedig gyhoeddwyr P. Williams, a D. Jones. M,DCC,XC.'

Y mae yn ei ragflaenu 'Llythyr y Cyhoeddwyr at y Darllenydd.' Y mae hefyd wyneb-ddalen gyffelyb i'r Testament Newydd. Gelwir hwn yn gyffredin yn 'Feibl John Cann,' gan mai cyfeiriadau ymylenawl y Beiblau a gyhoeddwyd yn Seisonaeg gan y gwr hwnw a fabwysiadwyd ynddo. Gwnaed peth cyfnewidiad hefyd yn y cyfieithiad, neu yn hytrach yn y llythyreniad, oddi wrth y cyfieithiad awdurdodedig, yr hyn a wnaeth gryn lawer o gynhwrf ar y pryd yn y Dywysogaeth, ac a ddygodd gryn ystorm ar y Parch. P. Williams, oddi wrth gyfeillion crefyddol ei ddydd; ond amddiffynwyd ef mewn llyfryn bychan o'r enw 'Dialogous.'* Am

JOHN CANN, gweinidog yr Eglwys Sefydledig ydoedd ar y cyntaf. Wedi hyny ymunodd â'r Browniaid; ac o blegid erlidigaeth yr amseroedd, efe a ffodd i Holand, a hyny cyn y fl. 1632. Yr oedd ei egwyddorion eglwysig yn hollol wrthwynebol i'r Eglwys Sefydledig Esgobawl, yr hyn nid oedd yr holl Anghydffurfwyr. Pan leihaodd yr erlidigaeth, efe a ddychwelodd, ac a ymsefydlodd yn weinidog ar eglwys neu gynnulleidfa o Fedyddwyr trwy drochiad yn Broadmead, Bristol, yr hyn a fu tua'r fl. 1640; yr hyn a rydd sail i gredu ei fod o'r dyb hono am yr ordinhâd. Gelwir ef 'A Baptized Man,' h.y., trwy drochiad;† ond nid oes hanes gan bwy y bedyddiwyd ef felly. Efe a aeth wedi hyny i Holand, ac yn ol i Loegr wedi marw Siarl I. a sefydliad y Weriniaeth. Nis gellir yn gywir ddweyd beth oedd ei dybiau crefyddol, gan mor gymmysglyd oeddynt. Ysgrifenodd amrai o weithiau dadleuol, crefyddol, a gwladyddol; ond ei brif waith oedd cyferbynu yr Ysgrythyrau gyda chyfeiriadau. Wedi Adferiad Siarl II. aeth i Holand drachefn, lle y bu farw.

7. ¶ 'Almanac Rhisierdyn, neu Gasgliad o Ymadroddion Doethion, yn cynnwys Rheolau tra buddiol a chwbl angenrheidiol at Gynhaliaeth Dynolryw: &c.

* Gwel rhif 2, d.f. 1791.

† *Broadmead Records.*

Argraphwyd ym Mhont-y-Fôn, ac ar werth gan H. Walters. (Pris dwy geiniog).'

'*Poor Richard's Almanac*,' gan y Dr. Benjamin Franklin, ydyw yr uchod, yr hwn hefyd a gyhoeddwyd yn y ganrif hon gan Mr. T. Roberts, Llwynrhudol.

HENRY WALTERS, yr argraffydd, ydoedd fab i'r Parch. John Walters, person Llandocheu, ac awdwr y 'Geirlyfr.' Dygwyd Henry i fyny yn argraffydd, ef allai gyda Rhys Thomas, pan oedd yn argraffu ym Mhont y Fon, neu y Bont Faen; ac ymddengys iddo barhau yno yn y gelfyddyd ar ei ol, er cyhoeddi 'Geirlyfr' ei dad. Ond ymddengys na wnaeth efe nemawr ar ol marwolaeth ei dad, gan ei fod yn ddarostyngedig i beth gwendid meddyliol; a chauodd ei hun am flynyddau wrtho ei hun, mewn ty yng nghanol tref Pont Faen, yng nghanol hen lyfrfa fawr ei dad, a gweddillion y swyddfa argraffol oedd wedi ymgasglu ar hyd amser Rhys Thomas, yn cynnwys peth anferth o ysgrifeniadau Rhys Prichard, ficar Llanymddyfri, y rhai a gludwyd yn llwythi certwyni i ben bryn Ystarlington, ac a daflwyd fel tail i'r ffos, ar farwolaeth Henry Walters, yn 1829.

8. 'Angau a Nefoedd; neu'r Gelyn Diweddaf yn cael ei Goncwerio, ac Ysprydoedd y Cyfiawn, yn ol eu Hymadawiad o'r Corph, yn cael eu perpheithio; Gyd âg Amlygiad o Gyfoethog Amrywiaeth eu Gorchwylion a'u Pleserau; yn cael ei gynnig mewn dwy Bregeth ar Gladdedigaeth Sir John Hartopp, Bart. A'i Wraig, yr Arglwyddes Hartopp. Yn Saesonaeg gan I. Watts, D.D. Ac wedi ei droi i'r Cymraeg er Lles i'r Cymry, Gan Daniel Griffith.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Daniel. M,DCC,XC. [Pris Swll mewn Papur glas.]'

9. 'Can ar y testyn o Fedydd, mewn Attebiad i eiddo y Parchedig B. Francis: ac mewn Amddiffyniad i hawl Babanod i'r Ordinhad.* Gan y Parchedig B. Evans.

Machynlleth: Argraphwyd gan T. Evans. 1790.'

Am y ddadl hon, dywed hanesydd y Bedyddwyr, 'O ddeutu diwedd y flwyddyn 1788, daeth allan yn Gymraeg, Draethawd ar Fedydd, gan Mr. Benjamin Evans, gweinidog ger llaw Aberteifi;† ac yn 1789, daeth atebiad iddo, gan Mr. William Richard, o Lynn, Norffolc, aelod gwreiddiol o Salem, yn sir Gaerfyrddin, eithaf adnabyddus a'i waith enedigol, ac â'r ddadl fedyddiol.'‡ Cyhoeddodd Mr. Benjamin Evans ail atebiad, ac atebodd Mr. Richard drachefn.§

10. 'Cadwedigaeth trwy Râs; neu Draethawd am Râs Duw, &c. Gan John Bunyan.

* Gwel rhif 21.

† Gwel rhif 11, d.f. 1788; a rhif 10, d.f. 1789.

‡ Gwel rhif 23, d.f. 1782.

§ Gwel rhif 10 a 14, d.f. 1786. Thomas's *History of the Welsh Associations.*

Caerfyrddin, Argraffwyd gan John Ross.'*

11. 'Y Porth Cyfyng: neu'r Anhawsdra o fyned i'r Nefoedd. Yn profi yn eglur trwy'r Ysgrythyrau y bydd, nid yn unig yr Anfoesol a'r Halogedig; ond hefyd llawer o Broffeswyr Mawrion yn dyfod yn fyr o'r deyrnas honno. Gan Mr. John Bunyan.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Ross. MDCCXC.'

12. 'Pregeth ddiweddaf Mr. John Bunyan, ar Ioan i. 13. A bregethwyd yn Llundain ym mis Gor. 1688. O gyfieithiad Hugh Jones, o Faesglasau.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan John Ross.'

Nid ydys yn deall i'r tri diweddaf gael eu cyhoeddi ar wahan, ond yn un llyfr, eithr bod gwyneb-ddalen i bob un o honynt.

13. 'Rhodd i'th Gymmydog, neu Iawn Adnabyddiaeth o Dduw, ac o Honom ein Hunain; Wedi ei Agoryd mewn Modd Amlwg, Buddiol, a Phrofiadol. Gan Sir Richard Hill, Marchog. O Gyfieithad y Parchedig Thomas Jones. Y Drydydd argraphiad† o'r ddwyfed ar bymtheg yn Saesneg.

Mwythig, Argraphwyd gan T. Wood. M,DCC,XC.'

14. 'Llun Anghrist: neu, Arddangosiad eglur a didwyll, o Lygriadau Ffydd Grist'nogol; ac o wendid ac oferedd Ymdrechiadau Mr. B. Evans, dros Daenelliad Babanod. Mewn chwech o Lythyrau at Gyfaill. Gan William Richards.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Daniel, yn Heol-y-Brenin. MDCCXC.'

15. 'Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, 1790.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan John Daniel, yn Heol-y-brenin.'

16. 'Gorchestwaith Beirdd Cymru, Yr Oes bresennol, Yn Esteddfod y Bala. Gydag Awdlau ar Ryddid, a roed yno yn Destun, I ganu arno, gan Gymdeithas y Gwyneddigion, Yn Llundain. At yr hyn, yr ychwanegwyd rhai dewis Ganiadau, yn Gywyddau, Cerddi, a Charolau newyddion, gan yr unrhyw amrywiol Feirdd, er diddanwch i bob carwr Barddoniaeth, ac er ymgeledd, cynhaliaeth, ac adfywhad, yr hen iaith Gymraeg. A gyhoeddwyd Wrth ddymuniad Cymdeithas y Gwyneddigion, yn y Flwyddyn, 1790.

* Gwel rhif 29, d.f. 1791.

† Gwel rhif 3, d.f. 1783; [a rhif 34, d.f. 1789.]

Argraphwyd gan J. Hughes, Yngwrecsham. (Pris 6d, neu chwe Cheiniog.)'

Dyna y modd gwallus y mae ei argraffiad.

17. 'Marwnad er Coffadwriaeth am fywyd a mârwolaeth Thomas Sheen, gweinidog yr efengyl, o blwyf Glasgwm, yn sir Faesyfed, yr hwn a orphenodd ei yrfa yr 28 o Chwefror, 1790, a'i lygaid yn gweled iachawdwriaeth ein Harglwydd. Gan Geidwad Carchar.

Aberhonddu, Argraffwyd gan W. a G. North.'

Dechreuodd Thomas Sheen bregethu mewn cyssylltiad â'r Methodistiaid a'r Arglwyddes Huntingdon, yng Nghymru; ond ni bu yn hir heb lyncu tybiau Antinomaidd, a thynodd rai dysgyblion gydag ef, ym mhlith pa rai yr oedd Walter Watkins, ceidwad carchar Aberhonddu, awdwr y farwnad uchod. Gwëydd ydoedd wrth ei gelfyddyd, ac yr oedd ganddo weithdy yn y carchar. Crybwylla y Parch. John Prickard, un o'r pregethwyr Seisonig cyntaf a gyfododd gyda'r Methodistiaid Wesleyaidd yn y Deheudir, fel hyn am Mr. Watkins:—'Yr wythnos ar ol hyn, casglodd y brawd Philips* yng nghyd y rhai mwyaf duwiol a synwyrol ag oedd yn ein cymdeithas ni (ac un gwr ieuanc, Walter Watkins, ag oedd yn perthyn i gymdeithas Arglwyddes H.), a darfu iddynt barhau i weddïo hyd hanner nos.'† Byddai yn gweddïo dair gwaith yn y dydd gyda'r carcharorion, ac yr oedd hen bobl yn byw mor ddiweddar a'r fl. 1850, yn cofio ei glywed yn gweddïo ar yr esgynglwyd gyda'r rhai a ddienyddid. Wedi iddo encilio oddi wrth y Methodistiaid, ac ymlynu wrth Mr. Sheen, byddai yn pregethu yn y teiau, lle y caffai, heb fod mewn cyssylltiad â neb. Bu Sheen a'i blaid yn achos o gryn gynhwrf ym mhlith y Methodistiaid yn y Deheubarth y dyddiau hyny.‡ Wedi i Watkins fod felly dros beth amser, yn ceisio ffurfio crefydd newydd, dangosodd ei egwyddorion drwg eu hunain yn nirywiad ei rodiad, a chollodd ei le fel ceidwad y carchar, o blegid ei feddwdod. Dywed i bennill cyntaf y farwnad redeg i'w feddwl yn Seisoneg mewn breuddwyd; ac iddo, pan ddeffrôdd, ei gyfieithu, a rhedeg ym mlaen yn Gymraeg, ac ar yr un mesur, sef yr hwn a elwir yn gyffredin, 'Mentra Gwen.' Y mae profiadau ysgrythyrol gyferbyn â phob llinell. Y mae y cyfansoddiad mor gyfrifol a'r cyffredin o'r cyfansoddiadau o'r oes hòno.

18. 'Gardd o Gerddi: Neu Gasgliad o Ganiadau, sef Carolau, Cerddi, Awdlau, Englynion, a Chywyddau, &c., gwedi eu cyfansoddi ar amrywiol Destynau, a Mesurau, yn Gymraeg; ynghyd â Chyfieithiad ar ychydig nifer i'r Saes'naeg. Gan Thomas Edwards, (alias Thomas o'r Nant) Prydydd.

Argraphwyd yn y Flwyddyn MDCCXC.'

* Y Philips hwn ydoedd dad Mr. Evan Philips, gof, Penpont, ger Defynog, yn sir Frycheiniog.

† Ei gofiant am dano ei hun o dan amseriad y fl. 1770.

‡ *Drych yr Amseroedd*, t. 138, ail arg.; *Methodistiaeth Cymru*, cyf. i. t. 409.

19. 'Some Account of the Bay and Harbour of Fisguard in Pembrokeshire, and of the Proposed Pier to be constructed there for the Safety of vessels navigating the Irish Channel.'

Diwedda gyda 'Gream Spence, Fisguard Harbour, May 6. 1790.'

20. 'Marwnad Miss Susanna Prichard, ail Ferch Evan Prichard, Esq. o'r Collenne, ym Mhlwyf Llantrisaint, yn Sir Forganwg; Yr hon a ymadawodd o'r Byd Dydd Mawrth, yr 20fed o Ebrill 1790, yn yr 20fed Flwydd o'i Hoed, wedi bod Chwech Wythnos yn glaf o Glefyd trwm, ond ymadawodd mewn Heddwch a Llawenydd anrhaethadwy a gogoneddus. Gan William Williams.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Daniel, yn Heol-y-Brenin.

Chwaer ydoedd gwrthddrych y farwnad uchod i'r diweddar Barch. Mr. Prichard, ficar Llandaf.* Y mae yr hysbysiad canlynol yn ei diwedd:—'N.B. Fe gyhoeddir Almanac John Harris am y y Flwyddyn 1791, yr ail Dydd Sadwrn o Fis Hydref nesaf.—Elw da i Siopwyr ac ereill i werthu drachefn.'

21. 'Can am Fedydd; a achlysurwyd gan Draethawd y Parchedig B. Evans, dros Daenelliad Babanod.† Gan B. Francis.

Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth dros yr Awdwr gan Ioan Daniel, yn Heol-y-Brenin.'

22. ¶ 'Y Gofal: sef Can, yn dangos Cyflwr Dyn yn ei Ieuengctid, ynghanol Oedran, ac mewn Henaint.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Daniel, Lle yr argreffir pob Math o Gopiau am brisiau rhesymol.'

23. 'Drych Ysprydol sef ychydig o Ystyriaethau ar Ystad y Meirw, a Nef ac Uffern; ac Angylion, ac Ysprydion da a drwg; ac achosion Naturiol a goruwchnaturiol o Freuddwydion a Gweledigaethau Cwsg, &c. Gan John Thomas o Ben y Ffordd Wen.

Trefriw Argraphwyd. 1790.'

24. ¶ 'Dwy Farwnad—Sara Lewis a D. Williams. Gan Thomas Dafydd.

Caerfyrddin.'

25. 'Llythyr at Gyfaill yn y Wlad, &c. Gan Aelod o un o'r Senedd-dai.

Caerfyrddin.'‡

* *Methodistiaeth Cymru*, cyf. iii. t. 74.

† Gwel rhif 10, d.f. 1789.

‡ *Ysgrif* Mr. B. Davies, Ysgolfeistr.

26. ¶ 'Y Ddwy Hatling, &c. Gan Wm. Prosser o Gastell-nedd.

Pont-y-Fon: Argraphwyd gan Henry Walters.'*

27. ¶ 'Taith neu Siwrnai y Pererin, Tan Rith neu Gyffelybiaeth Breuddwyd, &c.

Argraphwyd yn y Mwythig gan J. a W. Eddowes.'

28. ¶ 'Enwaediad a Bedydd: Neu Draethawd bychan yn profi trwy Ysgrythurau di-ymwad a rhesymmau eglur nad oedd y cyntaf ddim yn gysgod o'r ail, Ynghyd a Hymn ar ddydd bedydd Credadyn. A ysgrifenwyd yn Saesonaeg gan y Parchedig Mr. Tomas Colier, gynt Gweinidog yr Efengyl yng Wlad yr Haf. Yr ail Argraphiad, gyda diwygiad o amryw feiau yn y cyntaf, ac ychwanegiad o amryw wrthddadleuon ynghyd ac attebion, a Hymn ar ddechreuad, parhad, cadernid ac ardderchogrwydd yr undeb rhwng Crist a Christion.

Nid yw enwaediad na dienwaediad.

Ddim ond { Creadur newydd.<br>Ffydd yn gweithio trwy gariad.<br>Cadw Gorchymynion Duw. Paul. }

Machynlleth: Argraphwyd ac ar werth gan Titus Evans, Lle gellir cael argraphu pob rhyw Gopiau, a chyfieithu unrhyw beth o'r Saesonaeg i'r Cymraeg, gyda gofal am bris gweddaidd. Pris Dwy geiniog ac elw rhesymmol i brynwyr amryw ynghyd.'

Y mae un tudalen o 'Gair at y Darllenydd,' am yr ail argraffiad hwn, gan ryw 'Sion Morgan,' yr hwn oedd y cyhoeddydd, ac ef allai y cyfieithydd hefyd.

29. 'Can o Alarnad; ar ol Mary, Gwraig John Jones, o Blwyf Llanbedr, yn Sir Feirionydd. Yr hon a derfynodd ei gyrfa, ac a adawodd dystiolaeth dda ar ei hol. Hydref, 25. 1790. 34 Oed. Ar ddull ymddiddan rhwng y Byw, a'r Marw. Gan John Jones.

Machynlleth: Argraphwyd gan Titus Evans. M,DCC,XC.'

30. 'Catechism yr Eglwys wedi ei Esponio. Mewn Ffordd o Ofyniadau ac Attebion; a'i Gadarnhau trwy Brofiadau Ysgrythyrol: Gwedi ei rannu yn Bum Rhan a Deuddeg Dosparth: Ym mhâ rai y rhoddir Hanes byr ac eglur am I. Y Cyfammod Christianogol. II. Y Ffydd Gristanogol. III. Yr Ufudd-dod Christianogol. IV. Yr Weddi Gristianogol. V. Y Sacramentau Christianogol. A gasglwyd gan y Parchedig John Lewis, Gweinidog Margate yng Nghent.

* *Ysgrif* Mr. B. Davies, Ysgolfeistr.

At ba un y 'chwanegir, Traethawd Conffirmasiwn, gan Mr. Adams; a gweddiau, &c. Ac a gyfieithwyd gan John Jones, Curad Llangadfan yn Sir Drefaldwyn.

Mwythig: Argraphwyd gan P. Sandford, Gwerthwr Llyfrau. MDCCCXC.'

31. 'Prif Cristianogrwydd wedi ei Adnewyddu yn y Ffydd ac Ymarferiad y Bobl a elwir Cwaccers. A 'sgrifennwyd mewn Tystiolaeth i Oruchwyliaeth presennol Duw trwyddynt i'r Byd; fel y symmudir Rhagfarn, er Addysgiad i'r rhai syml, Annogaeth i'r rhai o Dueddiad da, a'r Gwirionedd, a'i Gyfeillion diniweid, gael eu hunain osod allan, Gan William Penn. A gyfiaethwyd o'r pummed Argraffiad yn y Saesoneg.

Yn y Mwythig; Argraffwyd gan J. a W. Eddowes. 1790.'

## 1791.

1. 'Rhyddid: Traethawd a ennillodd Ariandlws Cymdeithas y Gwyneddigion ar ei Thestun i Eisteddfod Llanelwy B.A. M,DCC,XC. Gan Walter Davies.

Argraphwyd yn Llundain gan T. Rickaby: ac ar werth gan E. a T. Williams, Strand; I. Daniel, Caerfyrddin; T. Sandford, Amwythig; ac ereill o Lyfrwerthwyr: gwerth dau Swllt. 1791.' 8plyg.

Yr oedd swyddfa argraffu Mr. Rickaby yn Bow Street. Distrywiwyd y cwbl gan dân Ionawr 10, 1788. Efe oedd y cyntaf i argraffu yr argraff fân a elwir *diamond*. Cyhoeddwyd y llyfr da uchod yn hollol ar draul Owain Myfyr a Leathart.* Am yr awdwr, WALTER DAVIES, neu GWALLTER MECHAIN, efe a anwyd yn y Wern, ym mhlwyf Llanfechain, yn sir Drefaldwyn, Gorphenaf 15, 1761. Cafodd elfenau ei ddysgeidiaeth yn ei blwyf genedigol nes gorddysgu ei athraw. Wedi hyny ymgynnyddodd oreu y gallai o dan lawer o anfanteision. Trwy gynnorthwy ei gyfeillion, aeth i Rydychain yn 1791, lle y cyrhaeddodd ei B.C.; a'i A.C. yng Nghaergrawnt. Arosai yn y coleg yn ystod yr amser rhwng y termau, fel y gallai wneyd i fyny am ei ddiffyg o fanteision boreuol. Ordeiniwyd ef yn gurad Meifod, yn sir Drefaldwyn, ac yn 1799, cafodd guradiaeth barhaol Yspytty Ifan, gan Arglwydd Mostyn, yr hon a gadwodd yn ei feddiant hyd ei farwolaeth. Wedi hyny cafodd bersoniaeth Llanwyddelan, yn sir Drefaldwyn, gan yr Esgob Horsley, yr hon a roddodd i fyny pan gafodd Fanafon, yn yr un sir, gan yr Esgob Cleaver. Yn 1837 rhoddodd Fanafon i fyny, pan gafodd Lanrhaiadr ym Mochnant. Yr oedd yn fardd campus, un o oreuon ei oes. Ysgrifenodd lawer i Eisteddfodau, ac ennillodd lawer o wobrwyau. Ysgrifenodd lawer i'r 'Cambrian Register,' y 'Cambro-Briton,' y 'Cambrian Quarterly,' y 'Greal,' y 'Gwyliedydd,' yr 'Haul,' a chyhoeddiadau ereill. Cyhoeddwyd gwaith cyfrifol o'i eiddo yn 1813-15 [1810-1814], o'r

* *Origin and Progress of the Gwyneddigion Society*, p. 25.

enw, 'A View of the Agriculture and Domestic Economy of North Wales and South Wales,' yn dair cyfrol. Cyhoeddodd hefyd Waith Huw Morus, yn ddwy gyfrol; a Gwaith barddonol Lewys Glyn Cothi, mewn cyssylltiad â'r diweddar Ioan Tegid.* Bu farw yn Llanrhaiadr ym Mochnant, Rhagfyr 5, 1849, yn 89 oed.†

2. ¶ 'Dialogous, neu Ymddiddan rhwng Philalethes ac Eusebes; mewn perthynas i wir Grist'nogrwydd.

Amddiffyniad ydyw i'r Parch. Peter Williams, yn erbyn ymosodiadau ei gyfeillion o'r oes hòno arno o blegid rhyw gyfnewidiadau a wnaethai yn sillebiaeth a geiriadaeth Beibl bychan, gyda chyfeiriadau y Parch John Cann, yn y flwyddyn ddiweddaf,‡ gan y Bardd o Bant y Celyn. Gellid barnu mai yn argraffwasg Trefecca y cafodd ei argraffu, er na fynegir hyny, ac amseriad ei ysgrifenu gan yr awdwr yw 'Gorpenaf 21, 1791.'

[Llyfryn 12plyg o 24 tudalen ydyw. Nid oes nac amseriad, nac enw argraffydd nac argraffle, ar ei ddechreu na'i ddiwedd; ond ceir, fel y noda yr awdwr, 'Gorphenhaf 21, 1791,' ar gwr aswy godre y ddalen olaf. Ymddengys i mi wrth ddullwedd y gwaith, mai Ioan Daniel, Caerfyrddin, oedd yr argraffydd. Gelwir ef yn wallus, 'Dialogous,' yn lle 'Dialogus.']

3. 'Awdlau ar Destynau Cymdeithas y Gwyneddigion i'r Eisteddfodau yn B.A. 1789, 1790, 1791. Sef Ystyriaethau ar Oes Dyn, Rhyddid, a Gwirionedd. Gan Dafydd Ddu o'r Eryri. Ac ar werth gan Dafydd Thomas, o'r Waen-Fawr, yn Arfon.

Llundain. Pris Swllt.'

[Yr argraffeb yn y cyfargraff o'm blaen a red fel hyn :—

'Argraphwyd yn Llundain gan T. Rickaby: Ac ar werth gan E. a T. Williams, Strand; I. Daniel, Caerfyrddin; I. Evans, Machynllaith; T. Sandford, Amwythig; John Williams, Dolgelleu; Morys Dafies, Bala; Jonathan Hughes, Llangollen; Mr. Roden, Dinbych; I. Williams, Llanelwy; Mrs. Evans, Llanerchymedd; I. Robyns, Amlwch; I. Roberts, Caergybi. 1791.' Ni chrybwyllir gair yng nghylch ei 'fod ar werth gan Dafydd Thomas, o'r Waen-Fawr, yn Arfon.' Cynnwys 46 tudalen 8plyg.]

Dafydd Thomas, neu Dafydd Ddu o Eryri, ydoedd fab i Thomas Griffith, gwëydd, o Ben y Bont, ym mhlwyf Llanbeblig, ger Caernarfon, lle y ganwyd ef yn 1760. Gan fod ei dad yn hoffi darllen, a chyfansoddi ar farddoniaeth, ac wedi hunan-gyrhaeddyd mwy o wybodaeth a dysg na'r cyffredin yn ei oes, ac yn arfer ei ddawn yn gyhoeddus ym mhlith y Methodistiaid, yr oedd yn mawrygu dysgeidiaeth, a rhoddodd ei fab o dan ofal offeiriad yn y gymmydogaeth, lle y cyrhaeddodd radd dda o wybodaeth yn yr iaith Seisonaeg, a pheth gwybodaeth o'r Lladin, Groeg, a Hebraeg. Yn 1796,

* [Cyhoeddwyd *Gwaith Gwallter Mechain*, sef Cynnulliad o'i wahanol Ysgrifeniadau ef mewn barddoniaeth a rhyddiaith, yn Gymraeg ac yn Scisoneg, mewn 3 cyfrol 8plyg, Caerfyrddin, 1868.]

† *Gentleman's Magazine*, for Nov. 1850; Williams's *Eminent Welshmen* (Additions).

‡ Gwel rhif 6, d.f. 1790.

gwahoddwyd ef i gadw ysgol i Bentraeth, ym Mon, gan Paul Panton, Ysw., o'r Plas Gwyn, ger y lle hwnw, ac i fod yn llyfrgellwr iddo. Oddi eithr ychydig amser y bu yn Amlwch, yn dal swydd yng Nghyllidfa y Glo, efe a barhaodd i gadw ysgol ar hyd ei oes, ym mhlwyf Llanddeiniolen, Llandwrog, a Llanrug, yn sir Gaernarfon. Ennillodd lawer gwaith wobrau Eisteddfodau a Chymdeithas y Gwyneddigion, Llundain, o'r hon yr oedd yn aelod. Ysgrifenodd lawer o ddarnau o dro i dro i'r cyfnodolion Seisonig ar bynciau perthynol i Gymru, megys i'r *Gentleman's Magazine.* Cyhoeddodd ran fawr o'i waith yn 1810, o dan yr enw 'Corph y Gaingc,' ac o'r hwn y cyhoeddwyd ail argraffiad yn ddiweddar, gyda chofiant o hono, ac arlun. Bu yn gynnorthwyol i gyhoeddi ail argraffiad o 'Waith Beirdd Mon,' yn 1817. Bu farw, trwy foddi yn yr afon Cegid, ym mhlwyf Llanddeiniolen, Mawrth 30, 1822, yn 63 oed.*

4. 'Llyfr Gweddi Gyffredin.

Caerlleon: Argraphwyd gan J. Fletcher. MDCCXCI.'

5. 'Marweiddiad Pechod mewn Credinwyr. Gan John Owen, D.D. O gyfieithiad Hugh Jones, o Faesglasau.

Mwythig, Argraphwyd gan B. Partridge a J. Hodges.'

6. 'Pregeth eglur a difrifol ar Fedydd, yn ei gyssylltiad ag Egwyddorion cyntaf ac Ysbryd Cristionogaeth. Gan W. Richards, LL.D.† gynt o Lynn.'

7. 'An Enquiry into the Truth of the Tradition, concerning the Discovery of America, by Prince Madog ab Owen Gwynedd, about the year, 1170. By John Williams, L.L.D.

London: Printed by J. Brown, at the Printing Office, Fair Street, Horsley-down, and Sold by B. White and Son, Fleet Street; J. Johnson, St. Paul's Church Yard; E. and T. Williams, No 13, Strand, and J. Ross, Carmarthen. M.DCC.XCI.' [8vo.]

Y Dr. JOHN WILLIAMS a anwyd yn Llanbedr Pont Stephan, yn sir Aberteifi, yn 1727. Bu yn weinidog cynnulleidfaoedd Ymneillduol mewn amryw fanau yn Lloegr, ac yn llyfrgellydd Llyfrfa y Dr. D. Williams. Cyhoeddodd hefyd 'Thoughts on the Origin of Language, and on the most rational manner of teaching Language.' Hefyd, 'A Free Enquiry into the Authenticity of the first and second Chapters of St. Matthew's Gospel,' &c.‡ Bu farw yn 1793, yn 66 oed.

* *Cambro-Briton*, vol. iii. p. 430; *Gwladgarwr*, cyf. iv. t. 30; *Cofiant*, yn rhagflaenu 'Corph y Gaingc,' ail arg. 1834; Williams's *Eminent Welshmen.*

† [Nis gallasai y radd o Ddoethor y Cyfreithiau (LL.D.) fod yn perthyn i Mr. Richards y pryd hwn, canys yn 1818 y derbyniodd efe hi oddi gan Goleg y Bedyddwyr yn Ynys Rhod, T.C.; ac ni chyrhaeddodd y graddlythyr y wlad hon hyd ym mhen rhyw gymmaint o amser ar olei farwolaeth, yr hon a ddygwyddodd ar y 12fed o Fedi yn y flwyddyn hono. Yr oedd efe yn byw yn Lynn yr amser y cyhoeddwyd y bregeth hon. Cymmerodd ein hawdwr, fel yr ymddengys, yr enw, nid o'r bregeth ei hun, ond o ryw gyfeiriad diweddar ati.]

‡ [Y gwaith enwocaf o'r eiddo y Dr. Williams ydyw ei Fynegair i'r Testament Groeg.]

8. 'The Aboriginal Britons, a Prize Poem, spoken in the Theatre at Oxford July viii. M.DCCXCI. By George Richards, B.A. Fellow of Oriel College. The Second Edition.

Oxford: Sold by D. Prince and J. Cooke, &c. M,DCC,XCI.'

9. 'Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, 1791.'

Machynlleth, Argraphwyd gan Titus Evans. 1791.'

10. 'Y Siars a roddwyd gan Samuel, Arglwydd Esgob Ty Ddewi, i Offeiriaid ei Esgobaeth, ar ei Ymweliad Cyntaf, yn y flwyddyn, 1790. Ynghyd a Phregeth ar Gnawdoliaeth ein Iachawdwr, gan yr un Gwir Barchedig Awdwr. Wedi eu cyfieithu i'r Gymraeg gan y Parchedig John Harries, Curad Llanfrynach, yn Sir Frycheiniog, yn y flwyddyn, 1791.

Aberhonddu, Argraphwyd gan William a George North.' [12plyg: 72 tudalen.]

Yr esgob hwn ydoedd

Y Dr. SAMUEL HORSLEY, yr hwn ydoedd yn fab i Mr. Horsley, offeiriad St. Martin yn y Meusydd, Llundain, a lle y ganwyd ef [yn 1733]. Yr oedd y Dr. Horsley yn un o ddynion dysgedicaf ei oes. Wedi bod flynyddoedd yn berson St. Mari, Newington, efe, yn 1788, a wnaed yn esgob Ty Ddewi. Yn 1793, efe a drosglwyddwyd i esgobaeth Rochester, lle, ar yr un pryd yr oedd yn dal deoniaeth Westminster; ac yn 1802, efe a symmudwyd i esgobaeth gyfoethog Llanelwy. Ysgrifenodd lawer o weithiau tra dysgedig. Bu farw yn Brighton yn 1806.*

11. 'Marwnad y Parchedig Mr. Daniel Rowlands, yr hwn a ymadawodd a'r Byd Hydref 16, 1790, yn 77 mlwydd o'i oed, ac a gladdwyd yn Llangeitho. Gan William Williams. Yr ail argraphiad.

Trefecca; Argraphwyd yn y flwyddyn M,DCC,XCI.'

12. 'Marwnad er Coffadwriaeth am y Parchedig Mr. William Williams, Gynt o Bant y Celyn.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Daniel, M,DCC,XCI.'

Y mae enw 'David Saunders' wrth ei therfyn.†

13. 'Llinell i'r Byd, ac Alarwm i'r Eglwys; sef, Ychydig Fyfyrdodau gwedi eu cyfansoddi ar Gân: Oddiar ystyriaeth o Farwolaeth y Parchedig Mr. Dafydd Evan; yr hwn a fu Weinidog defnyddiol yn agos i 20 Mlynedd yn y Doleu, pa un a ymadawodd o'i Babell Bridd

* Stephen Jones's *Biographical Dictionary.*

† Gwel rhif 7, d.f. 1780.

i'w Dŷ, nid o Waith Llaw, ar y 14 o Hydref, yn y Flwyddyn 1790, yn 49 Oed. Gan Thomas Morris.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Daniel, M.DCC.XCI.'

[Cynnwysa y llyfryn hwn hefyd, 'Ychydig Linellau er Coffadwriaeth am y diweddar Barchedig Dafydd Morys, Gweinidog y Bedyddwyr yng Nghaerfyrddin,' gan 'D. Dd. Er.' = Dafydd Ddu Eryri?*]

THOMAS MORRIS ydoedd Fedyddiwr trochedig. Efe a ordeiniwyd ar gynnulleidfa ym Mhenrhiw Goch, sir Gaerfyrddin, yn 1810; symmudodd i'r Casnewydd ar Wysg yn 1817, i Gaerodor yn 1831, ac i Bont y Pwl yn 1835. Yr oedd yn bregethwr poblogaidd. Ysgrifenodd lyfryn difyrus yn Seisoneg o'r enw 'London Spiritualized.'†

14. 'Marwnad y Parchedig William Williams, o Bant-y-Celyn; yr hwn a ymadawodd â'r Byd Ionawr 11, 1791, yn 74 o'i oed, ac a gladdwyd yn Llanfairbryn, yn Sir Gaerfyrddin. Gan Jacob Jones.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Daniel, yn Heol-y-Brenin.'

15. 'Drych Olwg ar Dir Angof, neu Goffadwriaeth o farwolaeth y Parchedig Mr. Dafydd Morris o Dan yr Allt, Llangwnwr, Gweinidog y Porth tywyll, Caerfyrddin. Ynghyd a Choffadwriaeth o Farwolaeth Jane Sanders, Llanon. Gan Dafydd William.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Daniel.'

16. 'The History of Wales, in nine books: with an Appendix. By the Rev. William Warrington, Chaplain to the Right Hon. the Earl of Besborough. In two Volumes. Vol. I. The Third Edition.‡

London: Printed for J. Johnson. No 70. St. Paul's Church Yard. MDCCXCI.'

17. 'Pigion o Hymnau I. Watts, D.D. ac eraill. Ynghyd â chwanegiad o amryw o Hymnau nad oedd yn yr Argraphiad Cyntaf.

Trefecca: Argraphwyd yn y Flwyddyn M,DCC,XCI.'§

18. ¶ 'Tour to Milford Haven. By Mrs. Morgan.'||

* *Llythyr* Mr. R. Williams.

† *Hanes y Bedyddwyr yn y Deheubarth*, gan D. Jones.

‡ Gwel rhif 14, d.f. 1786; rhif 13, d.f. 1787; rhif 17, d.f. 1788. [Rhaid bod hwn yn *bedwerydd* argraffiad yn y fan leiaf; canys ymddangosodd y 3ydd argraffiad yn 1788.]

§ Gwel rhif 27, d.f. 1765.

|| *Annual Reports*.

19. 'Marw i'r Ddeddf a Byw i Dduw. Ymha un yr amlygir yn helaeth, y modd mae'r Yspryd Glan yn dwyn yr Enaid o'r Cyfammod Gweithredoedd i'r Cyfammod Gras. O'r Hunan i Grist. Gan y Parchedig R. Erskine, A.M. Gynt Gweinidog yr Efengyl yn Dumferline, Scotland.

Machynlleth: Argraphwyd ac ar werth gan T. Evans, M,DCC,XCI. (Pris Swllt heb ei rwymo).'

20. 'Stafell Gyfaill: neu, Gyfarwyddid i Ddynion difrifol, yn y Ddyledswydd bwysig o Hunan Ymholiad, i'r Diben i'w osod i fynu yn nirgel 'Stâfell y Cristion, mewn Trefn i'w atgofio a'i gynnorthwyo yn y Gwaith. A gyfieithwyd gan y Parchedig I. Griffith, o Glandŵr.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Ross, yn Heol-Awst. 1791.'

21. 'Traethawd difrifol ynghylch Bedydd: Ym mha un y mae'r Ordinhad Sanctaidd honno yn cael yn ofalus ei gwahaniaethu oddiwrth yr Arfer lygredig sydd yn gyffredin yn myned dan yr un Enw, a'i Harwyddoccad a'i Diben hefyd yn cael eu dal allan; mewn Llythyr at y Diduedd, y Rhesymol, a'r Ymofyngar, ym mysg Arddelwyr Taenelliad Babanod yng Nghymru. At yr hyn y Chwanegwyd Ol-Ysgrifen, Yn cynnwys Attebiad digonol i Drydydd Llythyr Mr. Evans, o'r Drewen. Gan William Richards.

Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth gan Ioan Daniel. M.DCC,XCI.'

22. 'Marwnad, neu Ddewisol Goffadwriaeth, o Farwolaeth y Parchedig Mr. William Williams, Gynt o Bant-y-Celyn, yn Sir Gaerfyrddin, yr hwn a hunodd Ionawr 11, 1791, yn 74 Oed. Gan Philip Dafydd.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Daniel.'

23. 'Marwnad; neu Ychydig Linellau, mewn ffordd o Goffadwriaeth am Farwolaeth yr enwog Frawd yn yr Efengyl, Mr. Edmund Parry, Tir Eglwys, gynt o Pentewin, Yr hwn mewn byrr Amser a gafodd ei symmud o'r Byd hwn i'r Byd tragywyddol, Gorphenaf 4, 1791, yn 52 Oed. Gan Theophilus Rees.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Daniel, yn Heol-y-Brenin.'

24. 'Marwnad, neu Dduwiol Goffadwriaeth o Farwolaeth Dafydd Morys, o Ben-y-Ffos, ym Mhlwyf Troed-yr-Aur, yn Sir Aberteifi; yr hwn, wedi iddo bregethu yn llafurus a llwyddiannus ychwaneg nâ saith ar hugain o Flynyddau, a ymadawodd o'r Byd hwn Medi 16. 1791, yn 47 Mlwydd Oed. Gan Thomas Jones.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Daniel, yn Heol-y-Brenin.'

THOMAS JONES ydoedd enedigol o'r Maes, yn sir Gaerfyrddin. Bu farw yn Peckham, Surrey, Hydref 4, 1819, yn 60 oed. Yr oedd yn weinidog yr efengyl.

25. ¶ 'Cyffes Ffydd y Bedyddwyr. Cyfieithiad Newydd gan Josuah Thomas.

Caerfyrddin.'*

26. ¶ 'Galargan Enoch Thomas ar ol ei wraig.

Caerfyrddin.'*

27. ¶ 'Marwnad Daniel Rowlands a W. Williams, &c. Gan John Evans.

Caerfyrddin.'*

28. 'A Sermon, Preached in the Parish Church of Wrexham, On Sunday the 17th. of July, 1791, For the Benefit of the Chester Infirmary. By the Reverend William Davies Shipley, A.M. Dean of St. Asaph, and Vicar of Wrexham.

Wrexham; Printed by R. Marsh. 1791.'

29. 'Traethawd o waith yr enwog Mr. John Bunyan. Yn cynnwys I. Cadwedigaeth trwy Ras;† neu Draethawd am Ras Duw, yn dangos, 1. Beth yw bod yn gadwedig. 2. Beth yw bod yn gadwedig trwy Ras. 3. Pwy ydynt hwy a gedwir trwy Ras. 4. Pa fodd yr ymddengys mai trwy Ras y maent yn gadwedig. 5. Beth a all fod y Rheswm i Dduw ddewis cadw Pechaduriaid trwy Ras, yn hytrach na thrwy un modd arall. II. Y Porth Cyfyng;† neu'r Anhawsdra mawr o fyned i'r Nefoedd. Yn profi yn eglur trwy'r Ysgrythyrau y bydd, nid yn unig yr Anfoesol a'r Halogedig; ond hefyd llawer o Broffeswyr mawrion yn dyfod yn fyr o'r deyrnas honno. At ba un y chwanegwyd, III. Pregeth ddiweddaf yr Awdwr: A bregethwyd yn Llundain, yn Mis Gorphenhaf, 1688.‡

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Ross, yn Heol Awst. [Pris tri Swllt ynghyd].'

Ymddengys fod y ddau lyfr diweddaf wedi eu hargraffu y llynedd; ond na ddaeth y llyfr yn gyflawn allan hyd eleni; a dyna pa ham y ceir gwahanol amseriad iddynt. Hugh Jones, o Faesglasau, ger Dinas Mawddwy, ydoedd y cyfieithydd a'r cyhoeddydd, trwy danysgrifiadau. Yr oedd yr enwau yn y Gogledd yn dyfod i 100, yn

* Yn ol *Ysgrif* Mr. B. Davies.

† Gwel rhif 10, d.f. 1790.

‡ Gwel rhif 12, d.f. 1790.

cymmeryd yng nghyd 2,352 o lyfrau. Y mae wyneb-ddalen arall i'r 'Cadwedigaeth,' wedi ei hamseru 'M,DCC,XCI.'

30. ¶ 'Marwnad y Parch. Daniel Rowlands, gan Peter Williams.

31. 'On the better Relief and Employment of the Poor in the Town of Oswestry and the Parishes of Llanymynech, Chirk, and Llansilin. 1791.'

Y mae y llyfryn hwn yn cynnwys llawer o bethau o ddyddordeb lleol mawr.

32. 'A Private Bill for a Canal from Abernant to Melincrython Pill into the River Neath, and Improving the Navigation of that River. 1791.'

Argraffwyd yr ysgrif uchod yn gyfrinachol.

33. 'A Funeral Sermon preached at Spafields Chapel, July 3. 1791, on the death of the Late Countess of Huntingdon. By the Rev. David Jones of Langan.

London: Sold by Rice Jones No. 45, Chandler Street, Grosvenor-Square, Strand; J. Chalmers, No. 81, Old Street; J. Mathews, Strand; J. S. Jordan, No. 166, Fleet; Mrs. Trapp, Paternoster-Row; Hughes & Walsh, Inner Temple Lane; & J. Higham, No. 159, St. John's Street. Sold also by the door-keepers of Spafields and Sion Chapels. 1719.'

34. 'A Treasury of Theological Knowledge: Wherein Christianity, and the Divine Authority of the Holy Scriptures are proved: and the most plausible Objections considered. To which is added an Appendix. In Two Volumes.

Carmarthen, Printed and sold by John Ross and John Daniel; sold also by Messrs. E. and T. Williams, No. 13, Strand; and Stanley Crowder, Paternoster row, London; and Joseph Lloyd, Wine-street, Bristol. M.DCC.XCI.'

Awdwr y cyfrolau hyn ydoedd MORGAN WILLIAMS, curad Caerfyrddin;* ac y maent yn 'Dedicated to the Right Reverend Samuel Horsley, LL.D. F.R.S. Lord Bishop of St. David's.'

35. 'A Welsh Freeholder's Letter to the Bishop of St. David's, on his Carmarthen Charge.

Carmarthen. 1791.'

* [Gwedi hyny Ebrwyad Baefil, swydd Benfro; awdwr y *Collectanea.*]

[Awdwr y Llythyrau hyn at yr Esgob Horsley ydoedd DAFYDD JONES, cynghorwr o'r gyfraith, yr hwn a anwyd yn Llanymddyfri yn 1765, ac a fu farw yn 1816. Derbyniodd elfenau ei ddysg ym Mhencader, sir Gaerfyrddin, yn Abergefni, ac wedi hyny yn Athrofa Homerton, Llundain. Bu am beth amser yn fyfyriwr, ac wedi hyny yn athraw, yn yr Athrofa Henadurol yn Hackney. Pan yr ymadawodd oddiyno, cymmerodd ofal gweinidogol cynnulleidfa o Undodiaid yn Birmingham, lle, wedi aros blwyddyn neu ddwy, y penderfynodd newid ei alwedigaeth, ac ymgymmerodd â'r gyfraith. Yng nghylch y fl. 1794, aeth yn aelod o Gyfreithdy Lincoln, yn Llundain, ac o Goleg Caius, Caergrawnt. Gwedi gorphen ei fyfyrion cyfreithiol, ymarferodd â galwad cynghorwr o'r gyfraith yn Llundain, ac ar gylchdeithiau Rhydychain a Deheubarth am lawer o flynyddoedd. Heb law ei Lythyrau at Esgob Ty Ddewi, ac Amddiffyniad o honynt, cyhoeddodd—'Thoughts on the Riots at Birmingham,' 1791; 'Strictures on a Pamphlet entitled Thoughts on the late Riots at Birmingham,' 1791; a 'Reasons for Unitarianism.'*]

36. ¶ 'Collection of Welsh Tours.

Chester and London. 1791.'

Yr oedd y 'Tours' hyn i Wynedd, Deheubarth, a sir Fynwy, yn gyfrol drwchus.

37. ['Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, 1791.'

Llythyr Cymmanfa y Bedyddwyr a gynnaliwyd yn Abertawy yn 1791, ydyw. Cynnwysa 8 tudalen 8plyg bychan; ac argraffwyd ef yng Nghaerfyrddin gan Ioan Daniel, fel yr ymddengys wrth yr argraffeb ar ei ddiwedd.]

38. ['Cyfaill y Cymru, sef Englynion, Cywyddau, â Chaniadau newyddion; ar amrwy Desdynau, a Mesyrau, Y Rhan Gyntaf. Gan Iolo ap Iorwerth Gwilym, o Ben y Lan, gerllaw'r Bontfaen, ym Morganwg.

Argraphwyd dros yr Awdwr, 1791.' 16plyg.

Ni chrybwyllir ym mha le na chan bwy y cafodd y 'Cyfaill' ei argraffu. Yr 'Iolo ap Iorwerth Gwilym' hwn, neu 'Edward William,' fel y geilw ef ei hun ar ddiwedd y rhagymadrodd, a adwaenir yn fwy cyffredin wrth yr enw Iolo Fardd Glas.]

## 1792.

1. 'Myfyrdodau diweddaf y Parch. Mr. Baxter ar Farwolaeth: Yn dangos I. Pa beth sydd yn Fuddiol ac yn Ddymunol yn y Bywyd hwn. II. Y Rhesymmoldeb a'r Angenrheidrwydd o Gredu, fod eneidiau'r Duwiolion, pan ymadawont a'r bywyd hwn yn myned at Grist. III. Pa beth yw Ymddattod a bod gyda Christ. IV. Pa ham y mae yn llawer gwell i fod gyda Christ. V. Yr Awdwr yn hiraethu am gael ei wneud yn foddlon i ymddattod a bod gyda Christ. A dalfyrwyd gan Benjamin Ffosset, A.M. Ac a gyfieithwyd o'r ail Argraphiad yn Saesonaeg, Gan William Thomas, Gweinidog yr Efengyl, yn y Bala.

* Gweler Williams's *Eminent Welshmen.*

Trefecca: Argraphwyd yn y flwyddyn M,DCC,XCII. (Pris chwe' Cheiniog.)'

William Thomas ydoedd fab i rieni cyfrifol o amaethwyr. Yr oedd ei dad yn enedigol o sir Forganwg, a'i fam o sir Gaerfyrddin. Bu farw ei dad cyn i'r bachgen gyrhaedd ei ddeuddeg mlwydd oed, a symmudodd ei fam i'w chymmydogaeth ei hun. Rhoddodd iddo addysg Seisonig dda; aeth ef i Lundain, lle yr oedd ganddo berthynasau mewn sefyllfa gyfrifol, a chafodd le gyda masnachwr yn Long Acre, lle y bu rai blynyddau mewn parch mawr. Yr oedd y pryd hyny yn ddyn ieuanc moesol a difrifol, ond yn hollol ddyeithr i grefydd. Pan yr oedd o ddeutu 23 oed, cafodd dwymyn drom, ag oedd y pryd hyny yn ffynu yn Llundain; ac wedi ei adferu yn ddigonol, efe a symmudodd at ei fam i ymyl Llanymddyfri. Yr oedd adfywiad crefyddol y pryd hyny mewn amryw o gynnulleidfaoedd yr Ymneillduwyr. Eglwyswraig selog oedd ei fam; ond hudwyd ef gan gyw-reinrwydd i Grug y Bar, lle oedd y pryd hyny dan weinidogaeth un Isaac Price; a than y bregeth hòno o eiddo y gweinidog hwnw yr argyhoeddwyd ef. Ymunodd yn fuan â'r eglwys hòno; ac ym mhen rhyw amser wedyn dechreuodd bregethu. Tybiai ei hun yn rhy hen i dreulio yr amser arferol mewn coleg; ond treuliodd ddwy flynedd yn efrydu yn Athrofa Ymneillduol Abergafenni, o dan y Dr. Davies. Oddi yno ordeiniwyd ef yng nghapel Hanofer,* ger y dref hòno; ac ym mhen ychydig flynyddau wedyn, efe a symmudodd i'r Bala, lle y bu yn llafurio dros 21 o flynyddau. Tra y bu yno, cy-hoeddodd amryw fân lyfrau, a gwnaeth yn dda o honynt, yn enwedig gwaith y Dr. Owen, 'Angeu i Angeu.' Ond y gwaith mwyaf a gymmerodd arno ydoedd 'Esboniad y Dr. Guyse ar y Testament Newydd.' Yn Nhrefecca y byddai yn argraffu ei holl lyfrau, fel ag yr oedd y rhan fwyaf o Ymneillduwyr y rhanau canolbarthig o'r Dywysogaeth; ac yno y dechreuwyd argraffu 'Guyse.' Byddai Mr. Thomas yn prynu y papyr ei hun, ac yn ei anfon i Drefecca. Llawer o drafferth a gafodd gydag argraffwyr Trefecca. Byddai yn methu cael y rhanau allan mewn pryd; ac anfonai ei fab (John) o'r Bala i Drefecca i ymofyn y rhanau, a'u cludo yn bwn, ar gaseg fechan, i'r prif ddosbarthwyr ar hyd y wlad: ac wedi ei fyned yno at yr amser addawedig, ni byddai y rhanau yn barod, yr hyn a orfyddai i'r bachgen aros wythnosau yn Nhrefecca, er mawr anghyfleusdra a cholled. O'r diwedd blinodd arnynt, a symmudwyd ei argraffu at John Evans, Caerfyrddin; ac wedi hyny at Mr. Saunderson, Bala. Yr oedd wyth rhan heb eu parotoi pan fu farw Mr. Thomas, y rhai y cafodd ei fab gan y Parch. Ebenezer Jones, o Bont y Pwl, eu cwbl-hau. Darfu i'r maith flynyddau ag y bu yr Esboniad hwn yn dyfod trwy y wasg, beri anghyfleusdra a cholledion trymion. Yr oedd 1,800 yn ei dderbyn yn y dechreuad; yr oedd cynnulleidfa Hen-llan, sir Gaerfyrddin, yn derbyn 102 ei hun; ond cyn y diwedd nid oedd mwy nag 800 yn ei dderbyn trwy yr holl Dywysogaeth, yr hyn a wnai fod mil o hono yn anorphenol ar hyd y wlad. Collodd

* [Llanofer, neu Ryd y Meirch, mae yn debyg.]

Mr. Thomas 300*p*. ar yr anturiaeth.* Ystyrid Mr. Thomas yn bregethwr da, a gwir awyddus i wneyd daioni trwy ei bregethau a'i gyhoeddiadau. Bu farw yn y Bala ym Mai, 1809, a buasai yn 60 mlwydd oed yr Awst canlynol, ac felly, rhaid oedd ei eni yn Awst, 1749.†

2. 'Cyngor difrifol i un ar ol bod yn glaf, mewn llythyr oddiwrth Weinidog at un o'i blwyfolion. Gan Edmund Gibson (esgob Llundain, fel y tybir.)

Llundain.'

3. 'Hanes Troedigaeth y Wraig o Samaria: yn dangos, Natur gwir Argyhoeddiad a Dychweliad Pechadur at Duw: Gyd ag Effaith Dwyfol Ddatguddiad o'r Gwaredwr, ar Fucheddau y Gwaredigion. Wedi ei osod allan mewn Pregeth ar Ioan 4. 29. Gan y Parch. Ralph Erscin, A.M. Gynt Gweinidog yr Efengyl yn Dunffermlin, Scotland.

Machynlleth: Argraphwyd gan Titus Evans. M,DCC,XCII.' 60 tudalen 12plyg.

4. 'Dydd olaf y Credadyn ei Ddydd goreu, &c. Gan y Parch. Thomas Brooks.

Machynlleth: Argraphwyd gan Titus Evans.'‡

5. 'Gwledd i'r Eglwys, neu ddeuddeg Pregeth ar Gân Solomon. Gan y Parch. W. Romaine, M.A. yn Llundain. A gymreigiwyd gan Thomas Jones, Curad Creaton, yn sir Northampton.

Machynlleth: Argraphwyd gan Titus Evans, M,DCC,XCII. (Pris 1s. 9d.—neu 13 am guni.)'

6. 'Undeb Crefyddol, Neu Rybudd yn erbyn Schism. Yn dangos

* Cyhoeddodd hefyd yn y ganrif bresennol, 'Cyfarwyddiadau mewn Geography; neu Ddrych y Byd yn Gyffredinol, Mewn dull o Holiad ac Attebiad; a Sylwnodau, yn dangos amryw ddull o Lywodraeth a threfn y byd; hyd a lled Teyrnasoedd Ehang a Bychain, a rhifedi eu Trigoiion, eu hamrywiol fath o Grefyddau, eu Hanifeiliaid gwyllion a dofion, eu Marsiandiaeth, eu Llaw-waith a'u Talentau: Cynnyrch a Ffrwythau Coed mwyaf tyfadwy y'mhob Gwlad; Moroedd, Llynoedd, Afonydd, a Mynyddoedd, &c. Ynghyd â chyfarwyddiad pa fodd i gael y Lleoedd hyn ar y Map neu'r Glôb. Gwedi ei Gasglu a'i Gyfieithu allan o'r ailfed argraffiad ar bymtheg o waith Lenglet du Fresnoy, C. Smith, ac amryw Geographwŷr enwog ereill. Gan William Thomas, Bala. Caerlleon: Argraffwyd gan W. C. Jones. 1805.' Y mae yn tua 225 o dudalenau 12plyg.

† Tystiolaeth ei fab, J. Thomas, gynt o Lyn Ebwy, sir Fynwy, a *Llythyr* ei ferch, Mrs. Mary Johns, gweddw y diweddar Barch. David Johns, Cenadwr ym Madagascar.

‡ Gwel rhif 9.

ei Anghyfreithlondeb wrth reswm a'r ysgrythyr, a barn yr hen dadau yn y brif Eglwys. Gan Weinidog o Eglwys Loegr.

Gwrecsam, Argraphwyd gan T. Marsh.'

7. 'The Heroic Elegies and other Pieces of Llywarch Hen, Prince of the Cumbrian Britons: With a Literal Translation, by William Owen. Y Gwir yn erbyn y Byd.

London: Printed for J. Owen, No. 168, Piccadilly, and E. Williams, Strand. M DCC XCII.' [8vo.]

Evan Williams, cyhoeddwr llyfrau yn Llundain, ydoedd fab i Dafydd Williams, o Swydd y Ffynnon, ym mhlwyf Lledrod, yn sir Aberteifi, a'r hwn a arferai bregethu gyda'r Methodistiaid Calfinaidd, ac a adwaenid wrth yr enw Dafydd y Gof. Cafodd y meibion ddysgeidiaeth dda o dan y nodedig Edward Richard, Ystrad Meurig. Yr ydys yn ddyledus i E. a T. Williams am ddwyn allan lawer o lyfrau o bwys i'r Cymry, trwy yr hyn y collasant lawer o arian, yn enwedig trwy Eiriadur mawr y Dr. Owen Pughe; i'r hwn y bu yn rhaid bwrw llythyrenau newyddion, o blegid yr hyn yr oedwyd ei werthiant yn fawr; ac hefyd yn nygiad allan y 'Cambria Depicta,' gan E. Pugh, yn 4plyg, gyda 71 o luniau lliwiedig, yn 1816. Bu E. Williams dros ddeugain mlynedd yn llyfrwerthydd a chyhoeddydd Cymreig yn y Strand; ac am bymtheg mlynedd ar hugain yn aelod gweithgar o bwyllgor yr Ysgol Rad Gymreig. Bu Evan Williams farw yn Heol Penton, Llundain, Medi, 1835, yn 86 oed. Ei wraig, Frances, merch hynaf Robert Neat, Ysw., o Saltross, yn sir Wilts, a fu farw yn 1814, yn 52 oed. T. Williams [ei frawd] oedd cyhoeddydd cyntaf yr *Evangelical Magazine;* a bu mewn cyssylltiad ag ef fel argraffydd a chyhoeddydd yn Llundain, dros gryn amser.

8. 'Annogaethau Efangylaidd, i Sancteiddrwydd Bywyd; Mewn Annerch at Waredigion yr Arglwydd o bob Enw: A dalfyrwyd Allan o Waith y Parchedig Mr. Fflafel. Gan W. Mason.

Machynlleth: Argraphwyd gan Titus Evans. M,DCC,XCII.'

Y mae yn gydiol â hwn, ac fel attodiad iddo,—

'Dydd olaf y Credadyn ei Ddydd Goreu: Wedi ei brofi mewn Pregeth a Bregethwyd mewn Angladd neu Gladdedigaeth yn Llundain. Gan y Parchedig Thomas Brooks, Gweinidog yr Efengyl.'*

9. 'Athrawiaeth Bedyddiadau wedi ei hadferu oddiwrth ei Llygredigaethau cynnar a diweddar, a'i hadnewyddu i'r Iachus brif berffeithrwydd, yn ol gair y Gwirionedd, sylwedd ffydd, a natur

* Gwel rhif 5.

Teyrnas Crist. Gan Wm. Dell, gweinidog yr efengyl, ac Athraw Confil a Chaius, dwy o'r prif ysgolion yng Nghambridge.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan John Daniel.'

10. 'Goruchwyliaeth Crist: neu Ragoriaeth yr Efengyl: sef pregeth y Dr. Playfere. Wedi ei Chymreigio gan y Parchedig Peter Williams.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Daniel, yn Heol y Brenin. M,DCC,XCII.'

THOMAS PLAYFERE ydoedd frodor o Gaint, ac a gafodd ei ddysgeidiaeth yng Nghaergrawnt. Yn 1596 efe a wnaed yn Broffesor Margaret. Yr oeddid yn ei ystyried yn ysgolor Lladin enwog iawn. Efe a ymgorfforodd yn aelod yn Rhydychain, ac a wnaed yn LL.D. yno Gorph. 9, 1596. Bu farw yn Ionawr neu Chwefror, 1608, a chladdwyd ef yn eglwys St. Botolph, Caergrawnt.*

11. 'Coron Gogoniant tra'gwyddol i'w dewis o flaen holl olud y byd hwn. Pregeth Angladd, a bregethwyd ar farwolaeth y diweddar wir anrhydeddus a pharchus Arglwyddes Selina, Iarlles o Huntingdon; ac a bregethwyd o flaen yr Eglwys yn Heol-Jewin, yn Llundain. Ar ddydd Sul, Gorphenaf y 17. 1791. Gan y Parchedig T. Priestley, gweinidog y ddywededig eglwys, ac awdwr yr efengylaidd Feibl Teuluaidd. A gyhoeddwyd ar ddymuniad, ac a gyfieithwyd gan Edward Barns.

Machynlleth: Argraphwyd, ac ar werth gan Titus Evans.'

THEOPHILUS PRIESTLEY ydoedd frawd i'r Dr. Joseph Priestley, yr enwog Undodydd, ac yn weinidog ymneillduol Presbyteraidd fel yntau; ond yn hollol wahanol ei olygiadau i'w frawd ar Berson a Marwolaeth Crist, yn 'efengylaidd.' Wedi ei farwolaeth ef, syrthiodd y gynnulleidfa yn Heol Jewin, trwy ddylanwad ei olyddion, i'r un cyfeiliornadau ag ereill o'r corff hwnw, yr hyn a wywodd y gynnulleidfa agos i ddiddymdra; a darfu i'r rhelyw o'r ymddiriedolwyr werthu y capel i'r Wesleyaid Seisoneg rai blynyddau yn ol, y rhai a'i helaethasant gryn lawer.

12. 'Hanes Ferr o Fywyd Howell Harris, Yscwier; a dynwyd allan o'i Ysgrifeniadau ef ei hun. At ba un y chwanegwyd Crynodeb byrr o'i Lythyrau o'r Flwyddyn 1738, hyd y Fl. 1772.

Trefecca: Argraphwyd yn y flwyddyn M,DCC,XCII. (Pris Swllt.)' [12plyg: 218 tudalen.]

Y mae i hwn '*Elegy*' (=Marwnad) i Howel Harris, gan 'Jane Cave,' yr hon oedd yn un o 'deulu Trefecca,' yr hon ydoedd yn ferch i John Cave, awdwr y llyfr canlynol:—'An Epistle to the Inhabitants of

* Wood's *Athen. Oxon.* vol. i. p. 776.

Gillingham, in the County of Dorset, wherein is a Looking-glass for the faithfull to Shew whether their names were written in the Lamb's Book of Life, before the Foundation of the World: With a Variety of . . typical of Jesu's Blood: Never before Published. By John Cave, Glover of Brecon. Wherein are Instructions for the Ignorant: Milk for Babes, Stronger Meat for Young Men and Fathers: and a Death warrant for the formal proffesor and careless Sinner. Begun Nov. 19th. 1752 in Gillingham my Native Town, owing to a hot persecution for receiving Ministers to my house and finished lately in Brecon. And has been much approved of by many Eminent Divines who for several years have frequented my house there. Brecon Printed for the Author by E. Evans. 1781. (Price two Shillings an Sixpence].' Ymddengys y daeth yr awdwr i Aberhonddu, ac a sefydlodd mewn masnach fel menygwr. Pan oedd yno, efe a gafodd le fel cyllidydd, ac a sefydlodd yn Nhalgarth, lle yn fuan y dychwelwyd ef dan weinidogaeth Howel Harris. Efe a briododd, ac a roddodd i fyny y gyllidiaeth, ac ail sefydlodd yn y gorchwyl y dygwyd ef i fyny iddo yn Gillingham; ond o blegid ei fod yn ddyn crefyddol, ac yn derbyn y pregethwyr Methodistaidd, efe a erlidiwyd oddi yno, ac a ymsefydlodd eilwaith yn Aberhonddu.*

13. 'Tafol Gywir i bwyso Sosiniaeth: neu Atteb i Lyfr a gyhoeddwyd yn ddiweddar, dan yr enw Appel at Broffeswyr difrifol, &c. Gan y Parchedig Peter Williams, gynt Curad Eglwys Gymmun.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Daniel, yn Heol-y-Farchnad. M,DCC,XCII.'

14. 'Coffadwriaeth o Farwolaeth Mr. Josiah Evans. Gan George Rees.

Trefecca; Argraphwyd, M,DCC,XCII.'

15. 'Dirgelwch Duwioldeb: neu Athrawiaeth y Drindod: wedi ei datguddio mewn dull eglur a chynnefin, i'r Diben o wneuthur Egwyddorion Crefydd Crist yn hyfryd, ac yn flasus, i bob Enaid duwiol, yn ddirgel ac ar gyhoedd. Gan y Parchedig Peter Williams.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Daniel yn Heol-y-Brenin. M.DCC,XCII.'

16. 'Ymddiddanion rhwng Methodist Uniawngred ac un camsyniol. Y trydydd argraphiad.†

Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Daniel. M,DCC.XCII'

* *Llythyr* J. Joseph, Yswain.

† Gwel rhif 12, d.f. 1750.

Ymddengys mai gwaith y Parch. D. Rowlands, Llangeitho, yw y llyfr uchod, yr hwn sydd yn llyfran o ychydig ddalenau.

17. 'Llythyr y Gymmanfa yn y flwyddyn 1792.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Daniel.'

18. 'Coffadwriaeth o farwolaeth y Parch. David Jones, Dol-goch, gweinidog yr efengyl, gynt o Bont-y-pool, ac yn ddiweddar o Eglwys-y-Graig, Castellnewydd yn Emlyn. Yr hwn a hunodd gyda'i Dadau, Ionawr 24, 1792, yn 51 Mlwydd o'i Oed. A gyfansoddwyd yn Paris, Ffrainc. Gan y Parchedig Morgan Rees. Yr ail argraphiad. At ba un y chwanegwyd ychydig o Bennillion ar yr un achos, gan Mr. Joseph James, sir Benfro.

Trefecca, Argraphwyd yn y Flwyddyn M,DCC,XCII. Pris Ceiniog.'

Y Morgan Rees uchod oedd golygydd y 'Cylchgrawn.'

19. 'Coffadwriaeth o farwolaeth y Parchedig Mr. David Jones o'r Ddol-goch, yn sir Aberteifi. Yr hwn a fu yn Weinidog ffyddlon yr Efengyl yn Pen-y-Garn, wrth Bont-y-Pŵl, yn Sir Fynwe, nes cael ei symmud trwy Drefn Rhagluniaeth i'r Graig, yng Nghastell-Newydd, yn sir Aberteifi; lle y bu ef yn llafurus a llwyddiannus, yn cyd-gynnal y Weinidogaeth gyd a'r Parchedig Frawd Mr. John Richards, ne's cael ei drosglwyddo gan Angau i Fyd arall, er colled i Sion, ac Ynnill iddo ei hun, Ionawr 24, yn 51 oed, yn y Flwyddyn 1792. A gyfansoddwyd gan Dafydd William.

Caerfyrddin: I. Daniel, Heol y Brenin.'

20. 'Galarnad er Coffadwriaeth am y Parchedig Mr. David Jones, o'r Ddol-goch, yn sir Aberteifi. Yr hwn a ymadawodd â'r byd hwn mewn tawelwch, Ionawr 24, 1792, yn 52 oed. Gan Maurice Jones.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Daniel.'

Gweinidog y Bedyddwyr ydoedd Mr. Dafydd Jones; ac ymddengys ei fod yn barchus iawn gan ei frodyr; canys dyma dri gweinidog yn cyfansoddi galarnadau am dano. Yr olaf oedd frodor o Langollen, ac yn weinidog ym Merthyr Tydfil y rhan olaf o'i oes.

21. 'The History of the Boroughs of Great Britain.

London, 1792,' 3 vols. 8vo.

22. 'Carnarvonshire. A Sketch of its History, Antiquities, Mountains, and Productions.

London. MDCCXCII.'

Awdwr y llyfr hwn ydoedd y Parch. Nicholas Owen, Person Bottwnog a Mellteyrn, yn Lleyn, yn y sir uchod.*

23. 'Observations on the River Wye, and several parts of South Wales, &c. Relative to Picturesque Beauty. 1792.'

24. 'Cyflafan y Beirdd: gan Robert Williams o Eifionydd. Y Gwir yn erbyn y Byd.

Yn Llundain y cyhoedded, ac ar werth gan yr Awdur; gwerth 6c. [8plyg.]

[Ni chynnwys ond 8 tudalen. Nid oes dyddiad wrth y gwaith; ond y dywedir mewn nodyn ar waelod y tudalen cyntaf o gorff yr Awdl:—'Testyn i Eisteddfod Dinbych, B.A. 1792, gan Gymdeithas y Gwyneddigion. I'r Awdl hon y barnwyd yr Ariandlws.' Y mae yn dra chyffelyb gan hyny mai yn y flwyddyn hon yr ymddangosodd. Yr Awdwr ydoedd ROBERT AB GWILYM DDU, yr hwn a aned yn 1767, ac a fu farw yn 1850. Ni cheir mo'r awdl hon yng ngwaith y bardd, a elwir 'Gardd Eifion,' Dolgellau, 12plyg, 1841.]

25. 'Appel at Broffeswyr Difrifol a Diduedd Cristianogrwydd; ar y pynciau canlynol; sef, I. Yr ymarfer o reswm mewn pethau crefyddol. II. Gallu dyn i wneuthur ewyllys Duw. III. Pechod gwreiddiol. IV. Etholedigaeth a Gwrthodedigaeth. V. Duwdod Crist. VI. Cymmod am bechod trwy farwolaeth Crist. Yn Saesnaeg Gan J. Priestley, LL.D. &c.'†

26. 'Y Catecism; hynny yw, Athrawiaeth i'w dysgu gan bob un cyn ei ddwyn i'w Gonffirmio gan yr Esgob, gyda Thestunau Ysgrythyrol, perthynol i hynny. Yr ail argraphiad.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Daniel, yn Heol-y-Farchnad. M,DCC,XCII.'

27. ¶ 'Ymborth ar Ddydd-ympryd: neu Ychydig o Resymmau prydlawn tu ag at wasanaeth y Bobl ddaionus hynny ag sydd yn credu ym mhriodoldeb ac effaith Ymprydiau Cyhoedd. Gan William Richards, M.A. Aelod o Gymdeithas yn Pensylfania tu ag at Annog yn y Blaen Ddiddymmiad Caethiwed. Argraphwyd tros y Cymry uniaith.'

28. 'Farther Observations, on the Discovery of America, by Prince Madog ab Owen Gwynedd, about the Year 1170. Containing the Account given by General Bowles of the Creek or Cherokee Indians, lately in London, and by several others, of a Welsh Tribe or Tribes of Indians, now living in the Western parts of North America. By John Williams, L.L.D.

* Gwel rhif 15, d.f. 1777.

† Gwel rhif 12. I hwn y mae hwnw yn atebiad. Cafodd hwn hefyd ei ail argraffu ym Merthyr Tydfil, yn 1812.

London: Printed by J. Brown, at the Printing-Office, Fair Street, Horsley-Down, and Sold by White and Sons, Fleet Street, J. Johnson, St. Paul's Church Yard; E. and T. Williams, No. 13. Strand; Owen, No. 168, Piccadilly; J. Ross, Carmarthen, and Eddowes, Shrewsbury. M,DCC,XCII.'*

29. 'Marwnad Dafydd Harries, o Langwm, o blwyf Llanbedr, yn Sir Benfro; Yr hwn a ymadawodd â'r Byd hwn yn Flwyddyn 1792. Gan Thomas Dafydd.

Caerfyrddin, Argraphwyd tros yr Awdwr gan J. Daniel, yn Heol-y-Farchnad isaf.'

30. 'Ychydig Eiriau ar Ddull Marwnad i Mr. David Morris, Gweinidog yr Efengyl, o Blwyf Troed-yr-aur; Yr hwn a hunodd yr 16 o Fis Medi 1791. A gyfansoddwyd gan Mary Rowlands, o Blwyf Penbryn.

Caerfyrddin: Argraphwyd gan I. Ross, yn Heol-Awst, M,DCC,XCII.'

[Prydyddes yn ol braint a defod urdd Elis y Cylchwr ydoedd Mari Rolant; ac nid oes hanes iddi gynnyg gwasanaethu ei chydwladwyr trwy gyfrwng y wasg, ond y tro hwn yn unig. Ni welodd yr ysgrifenydd mo'r farwnad hon; ond clywodd un a adwaenai yr awdures, yn adrodd rhanau o honi, flynyddoedd maith yn ol; eithr y cyfan, braidd, y mae yn ei gofiaw o honi ac am dani ydyw, bod y geiriau *hon* a *trwm* yn cael eu harferyd i gyfodli mewn rhyw gongl neu gilydd o honi. Yr oedd Mari Rolant yn gymmydoges i Dafydd Morris, yn ddysgybles iddo, yn fawr ei pharch o hono, ac yn ddwys ei galar ar ei ol: ond ychydig oedd yr hen ferch wledig hon yn ei feddwl, ei bod, wrth lunio ei llinellau diaddurn, yn palmantu y ffordd i gael tragywyddoli ei henw yn *Llyfryddiaeth y Cymry!*]

31. ¶ 'Llythyr Cymmanfa yr Independiaid.

Caerfyrddin.'†

32. ¶ 'Cri Carcharorion dan farn Marwolaeth, &c. Gan D. Davies, Castell Hywel.

Caerfyrddin.'†

33. ¶ 'Gweddill Pabyddiaeth . . . Cyfaill i'r Gwirionedd.

Caerfyrddin.'†

34. ¶ 'Rhai Pennillion ar Farwolaeth Jos. Jones.'†

35. ¶ 'King & Government—a Discourse. By Thos. Davies, Rector of Coyty.

Carmarthen.'†

36. ¶ 'Patterson's Books of Roads in England and Wales. 1792.'†

* Gwel rhif 7, d.f. 1791.

† *Ysgrif* Mr. B. Davies.

37. 'Songs of the Aboriginal Bards of Britain. By George Richards, A.M. Fellow of Oriel College, Oxford.

Oxford: Sold by J. Cooke, &c. M DCC XCII.'

38. 'General View of the Life and Writings of the Rev. David Williams. By Captain Morris. 1792.' 8vo.

DAVID WILLIAMS a anwyd ger Aberteifi, yn 1738. Cafodd elfenau ei ddysgeidiaeth yn y Coleg Presbyteraidd yng Nghaerfyrddin, gyda golwg ar fod yn weinidog ym mhlith yr enwad hwnw. Wedi gadael y coleg, efe wasanaethodd gynnulleidfa yn Frome, yng Ngwlad yr Haf, ac wedi hyny cynnulleidfa luosocach yn Ecseter; ac aeth oddi yno i Highgate, lle y dechreuodd ar ei orchwyl fel awdwr, yn 1770, pan nad oedd eto ond 32 oed, trwy lythyr at Garrick y chwareuydd. Canlynodd hyny gan un neu ddau o weithiau ereill, pan yn 1773, wedi rhoi i fyny ei weinidogaeth, yr ymgymmerodd â dysgu ieuenctyd, ac yr ysgrifenodd ar ddysgeidiaeth. Dywedir iddo hefyd y pryd hyn gofleidio egwyddorion anffyddiaeth i ryw fesur. Ysgrifenodd lawer o weithiau poblogaidd yn yr oes hòno ar wladyddiaeth, y rhai a gyfieithwyd i'r Ffrancaeg. Efe ydoedd sylfaenydd y Drysorfa Lenyddol, i roddi cynnorthwy i awdwyr mewn cyfyngder, yn 1789. Bu farw Mehefin 29, 1816, yn 78 oed, a chladdwyd ef yn Eglwys St. Ann, Soho, Llundain.*

39. 'A Picturesque Guide to the Local Beauties of Wales, and the Marches, interspersed with the most interesting Subjects of Antiquity in that Principality. By James Baker. Assisted by Gentlemen of great Scientific Learning and Knowledge. Vol. I.

London, Printed by Griffiths and Horton, &c. M.DCC.XCII.' [4to.]

Dywedir mai y gyfrol uchod yn unig a gyhoeddwyd, er, y mae yn debyg, fod gan y rhif 24 y flwyddyn hon ryw berthynas â hwn.

40. 'The Fair Pilgrim, a Poem translated from the Welsh.' 12mo. 1792.

Y cyfieithydd ydoedd Edward Williams *(Iolo Morganwg)*. [Cyfieithiad o un o ganiadau Dafydd ab Gwilym i Forfydd ydyw.

41. 'Letters from Simkin the Second to his Dear Brother in Wales, containing an Humble Description of the Trial of Warren Hastings. With several Letters in Answer from Simon, Aunt Bridget, and Shenkin. 1792.'

Rhyw fath o wawd ar y Cymry ydyw, a lled drwsgl hefyd.

* *Cambrian Register*, iii. p. 529, &c.

42. ¶ 'The Practice of the Great Sessions in South Wales. By Rich. Foley. 1792.' 8vo.

43. 'The Voyage of Life. By D. Lloyd. 1792.' 8vo.

Yr awdwr ydoedd ficar Llanbister, yn sir Faesyfed. Efe a gyhoeddodd hefyd yr unrhyw yn 1812, gyda'r enw chwanegol o 'Characteristics of Men, Manners, and Sentiments.'

44. ¶ 'Letter to the Bishop of Landaff, containing Remarks on his Lordship's Charge to the Clergy of Glamorgan. 1792.'

Yn y Siars uchod darfu i'r esgob, yr enwog Dr. Richard Watson, yr hwn oedd yn rhyddfrydwr penderfynol yn ei syniadau gwladol, dramgwyddo yr offeiriaid yn fawr trwy lefaru yn erbyn y 'Test and Corporation Act,' a chanmol y Chwyldroad yn Ffrainc.

45. ['Travels of Rev. Thos. Lloyd Watkins, Pennoyre.' 2 vols. 8vo.

Yr awdwr ydoedd dad y diweddar Mr. Vaughan Watkins, A.S., Penaur, ger Aberhonddu.]

## 1793.

1. *'Athrawiaeth y Drindod mewn Tair Pregeth: I. Ar Person Crist yr Immanuel. II. Ar Bersonoliaeth a Duwdod yr Yspryd Glân. III. Ar Wahaniaethol Bersonau y Tad y Mab a'r Yspryd Glân: Ynghyd ag Attebiad i rai Gwrthddadleuon. O Gasgliad B. Jones.

Machynlleth: Argraphwyd gan Titus Evans. M,DCC,XIII. [Pris chwe'cheiniog].' [12plyg: 96 tudalen.]

Benjamin Jones oedd fab i rieni crefyddol, aelodau o'r Eglwys Sefydledig, ag oedd yn anneddu yn Nhrecyrn Fawr, ym mhlwyf Llanwinio, sir Gaerfyrddin, lle y ganwyd ef Medi 29, 1756. Gan y bwriedid ef yn weinidog i'r eglwys hòno, dodwyd ef o dan ofal dysgeidiol offeiriad Llanddewi Felffre, yn sir Benfro, lle y dangosodd alluoedd cryfion mewn cynnyddu ei wybodaeth ieithyddol, a changenau ereill. Ond ennillwyd ei feddwl i ymuno â'r Ymneillduwyr yn Henllan; ac wedi dechreu arferyd ei ddawn yn gyhoeddus, aeth i Athrofa Ymneillduol Abergafenni, dan ofal y Dr. B. Davies. Ordeiniwyd ef yn weinidog ar gynnulleidfa o Ymneillduwyr a gyfarfyddent ym Mhant y Creuddyn, sir Aberteifi, Mai 25, 1779, pan oedd yn 23 oed. Ym mhen tua thair blynedd symmudodd i Ros y Meirch, yn sir Fon; ac yn 1798 i Bwllheli, lle y treuliodd weddill ei oes. Cyhoeddodd draethawd arall yn nechreu y ganrif hon o'r enw 'Ffynhonau Iachawdwriaeth; neu Amddiffyniad o Athrawiaethau Gras: sef, byrr Attebiad i Lyfr a elwir Traethawd ar Etholedigaeth a Gwrthodedigaeth; ac Helaethder y Prynedigaeth Crist'nogol. Gan B. Jones, Gweinidog yr Efengyl. Pris Swllt

mewn Papur Glas. Caernarfon: Argraphwyd gan T. Roberts.' 'Caeaugwynion, 23d. o Fawrth. 1805.'*

2. 'Sylwadau ar Draethawd a elwir Undeb Crefyddol,† neu Rybudd yn erbyn Schism, &c. Mewn ffordd o Lythyr at yr awdwr o hono: Yn dangos Ddarfod iddo, yn y Traethawd hwnnw, gondemnio amryw Byngciau o Athrawiaeth a amddiffynnir gan y Bibl, a chan Erthyglau a Homiliau Eglwys Loegr; ym mha un y mae efe yn proffesu ei fod yn Weinidog; ynghyd a phrawf o'i gam-farn ar y bobl a elwir Methodistiaid, &c. Gan Thomas Jones.

Llundain, Argraphwyd gan Vaughan Griffiths. 1793.' [12plyg.]

Y mae iddo raganerch 'At y Darllenydd,' wedi ei arwyddo a'i amseru 'T. J. Penuchaf, gerllaw Caerwys, Gorphenhaf, 12fed, 1793,' lle yr oedd yr awdwr yn cartrefu y pryd hyny.

3. 'Cyngor i'r Cymry, mewn deuddeg o bennodau, &c. Gan Morris ab Robert, o'r Bala.

Trefecca, Argraphwyd yn y flwyddyn M,DCC,XCIII. [Pris chwe' cheiniog.]'

Yr oedd MORRIS AB ROBERT yn fardd gweddol yn ei oes, ac y mae rhyw nifer o'i ganiadau ym 'Mlodeugerdd Cymru.'‡ Un tro pan ddigiwyd ef gan heu wrachod y chwedlau, yn nhref y Bala, gofynodd boneddwr iddo am helynt y dref, atebodd yntau ar ganu yn ebrwydd fel hyn:—

'Y Bala, lle bawa'n y byd,—drwy gilydd
Drigolion gwenwynllyd;
Llawn bariaeth, afiaeth hefyd,
Y glapiog gêr sy'n glep i gyd.'§

Dro arall, yn ffair Galan Gauaf Ffestiniog, efe a welai filwr ar genad ymabsen, ac yr oedd yn ddiwrnod oer iawn, ac efe a ganodd fel yma:—

'Ffestiniog, lle creigiog crog—ddu anial
I ddynion annwydog;
Na weina cledda' lle clog,
Na phais deneu'n Ffestiniog.'

Clochydd Llanfihangel y Gwynt, wrth gyfarch un oedd yng ngefail Llwydiarth, gan ei hysbysu am ei golled am ei gwd a'i fwyd, a adawsai allan tra y bu yno, a ddywedai:—

'Cychwynwch, rhedwch mewn rhoch,—o'r dafarn,
Lle difyr a welsoch;
Mae'r hyll mawr'r ol colli moch,
Bwt o faedd, wedi bwyta feddoch.'

* *Hanes yr Ymneilldwwyr*, gan D. Morgan, t. 256-59.
† Gwel rhif 7, d.f. 1792.
‡ *Blodeugerdd*, t. 96, 175, 438, 453, 474.
§ *Y Brython*, 1860, t. 265.

Atebodd Morris ab Robert fel hyn :—

'Cychwynaf, rhedaf o rwyd—y dafarn,
Lle difyr a welwyd ;
Yn Llwydiarth y'm colledwyd—
I faetio baedd am fwyta'm bwyd.'*

Un o'r Ymneillduwyr perthynol i gynnulleidfa Ymneillduol Mr. Baddy, o Ddinbych, ydoedd, a merch iddo ef ydoedd gwraig Mr. John Evans, o'r Bala, cyfieithydd 'Primitive Physic' Wesley.†

4. 'Y mawr bwys o fod ein tybiau mewn crefydd yn gysson a'r Ysgrythyr.—Pregeth a bregethwyd o flaen Cymmanfa o Weinidogion yn Ringwood, Gorphenaf, 29, 1788. Gan y Parch. David Bogue o Gosport. Wedi ei chyfieithu o'r ail argraffiad yn Saes'naeg, a'i chyhoeddi er lles i'r Cymry. Gan y Parch. Lewis Rees. At ba un y chwanegwyd Rhai Hymnau ar destynau efengylaidd, gan E. ap Jago ap Dewi.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan I. Ross, yn Heol Awst. 1793.'

Y Dr. Bogue oedd fab i John Bogue, Ysw., o Holydown, yn sir Berwic, yn Scotland. Cafodd ei addysg yn Edinburgh, lle y cyrhaeddodd ei A.C., gyda bwriad i fod yn Weinidog yr Eglwys Bresbyteraidd Sefydledig yn Scotland. Cafodd drwydded gan yr Henaduriaeth, a dechreuodd bregethu yn 1772. Ond dewisodd Annibyniaeth, ac ordeiniwyd ef yn weinidog yn Gosport, lle y bu yn llafurio am 50 mlynedd. Efe oedd un o sylfaenwyr Cymdeithas Genadol Llundan, ac athraw y myfyrwyr cenadol am flynyddau. Bu farw yn Brighton yn 1825, yn 77 oed.‡

5. 'Cylchgrawn Cymraeg. Neu Drysorfa Gwybodaeth ; rhifyn cyntaf. Pris chwe' cheiniog. Am Chwefror, 1793.

Trefecca: Argraffwyd yn y flwyddyn 1793.'

[Dalen gyntaf y rhifyn cyntaf o'r Cylchgrawn hwn a saif fel hyn :—

'Rhi. I. Cylch-grawn Cynmraeg ; Neu Drysorfa Gwybodaeth. Rhifyn Cyntaf, Pris Chwe cheiniog. Am Chwefror 1793. Yn cynwys y pethau canlynol.' [Yna y canlyn cynnwysiad y rhifyn.] 'Y Gwir yn erbyn y Byd.—Na ymddiried i'th fyw, ond i Dduw a'i ddisgyblion.—Taliesyn.

Trefecca : Argraphwyd yn y Flwyddyn 1793.'

Cynnwysa 56 tudalen 8plyg. Daeth yr ail rifyn allan am fis Mai, 1793; ac y mae ei ddalen enwol yn y wedd ganlynol :—

'Rhifyn II. Cylchgrawn Cynmraeg. Am Mai, 1793.—Yn cynnwys y pethau canlynol.' [Y rhai a ganlynant, fel o'r blaen, mewn dwy golofn, ac yn cynnwys rhyw drigain o wahanol erthyglau.] 'Y Gwir yn erbyn y Byd.

* *Y Brython*, 1860, t. 269-70.

† *Methodistiaeth Cymru*, cyf. i. t. 485 ; gwel hefyd rhif 2, d.f. 1752.

‡ *Congregational Magazine.*

Trefecca: Argraphwyd. Ac ar werth gan J. Daniel, ac J. Ross, Caerfyrddin: Titus Evans, Machynlleth: Richard Williams, Amlwch: Robert Owens, Caernarvon: Cadwaladr Jones, Aberystwyth: Thomas Miles, Merthyr Tydfil: Thomas Rees, Caerdydd: John Philips, Aberteifi: Owen Rees, Bristol: I. Owen, Piccadilly, ac E. Williams, Strand, Llundain: Hugh Evans, Nevyn, a chan lawer eraill trwy Gynmru.'

Y Cylchgrawn hwn a elwir yn gyffredin, 'Cylchgrawn Morgan Rhys,' o blegid mai Morgan Rhys, neu Morgan ab Ioan Rhys, ydoedd ei olygydd. Daeth allan bum rhifyn o hono, pryd y rhoddwyd ef i fyny o ddiffyg cefnogaeth. Argraffwyd y rhifyn olaf, nid yn Nhrefecca, ond gan Ioan Daniel, yng Nghaerfyrddin. Canfyddir mai cyhoeddiad albanol neu drimisol ydoedd.]

6. 'Urbania, neu Grefyddol Ddadleuon. Gan John Thomas, Pen y ffordd wen.

Gwrecsam, Argraffwyd gan R. Marsh. 1793. (Pris chwe' cheiniog.)'

7. 'Cywydd y Drindod. Gwaith Dafydd Ionawr.

Argraphwyd yng Ngwrecsam, gan A. Hughes, M,DCC,XCIII.'

300 a argraffwyd o'r Cywydd. Ni werthwyd ond ychydig o gopïau. Ei bris oedd 5*s.*, a bu y bardd yn golledwr trwm ar yr anturiaeth. Gwerthwyd llawer o honynt am y peth a geffid am danynt, a gwnaeth yr awdwr, yn ei lid siomedig, goelcerth o'r gweddill.

David Richards (Dafydd Ionawr) ydoedd fab i John a Catherine Richards, o Lan y Morfa, ger Tywyn, sir Feirionydd, lle y ganwyd ef yn 1752. Pan yn 14 oed, cymmerwyd sylw o hono gan y Parch. E. Evans (Ieuan Brydydd Hir), yr hwn oedd y pryd hyny yn gurad y plwyf hwnw, ei fod yn fachgen o athrylith, ond bod arno eisieu gwrteithiad; a darbwyllodd ei dad i'w anfon i Ysgol Ystrad Meurig, o dan ofal Mr. Edward Richard, a'r lle yr ennillodd radd dda mewn gwybodaeth. Bu am beth amser mewn ysgol yng Ngwrecsam; ac wedi hyny efe anfonwyd i Rydychain. Ond gan iddo gael ei siomi yno, o blegid llygredigaeth y lle, ni arosodd i gael graddau, a dychwelodd i gynnorthwyo Mr. Tisdale, i Groesoswallt. O Groesoswallt, efe a symmudodd i Gaerfyrddin, yn gynnorthwywr i'r Parch. W. H. Barker, y ficar, yn yr ysgol yno. Bu wedi hyny yn cadw ysgol yn Nhywyn a Dolgellau. Cafodd nawdd yn ei hen ddyddiau gan Mr. Thomas Jones, o'r Ynys Faig, i'r hwn y trosglwyddasai ei holl etifeddiaeth, ar yr ammod o gael nodded a chynnaliaeth yno. Parhaodd yn y teulu hwnw, wedi marwolaeth Mr. Jones, gyda Mrs. Jones, ac wedyn gyda'u mab, Mr. Griffith Jones, yn y Bryn Tirion, ger Dolgellau, lle y bu farw Mai 11, 1827, yn 75 oed.*

8. 'Geiriadur Cynmraeg a Saesoneg.—A Welsh and English Dictionary; compiled from the Laws, History, Poetry, Bardism, Proverbs, and other Monuments of the Knowledge and Learning of the Ancient Britons; with numerous and select Quotations to

* Hanes ei fywyd yn gyssylltedig a'i *Waith*, gan y Parch. M. Williams.

elucidate the Meaning of Words. To which is prefixed, A Welsh Grammar. By William Owen, F.S.A.

London: Printed for E. and T. Williams, Strand. 1793.' [8vo.]

[Y *rhan* neu'r *gyfran* gyntaf o Eiriadur y Dr. Owain Puw ydyw hwn. Ni *chyhoeddwyd* y gwaith, nes y gorphenwyd argraffu y ddwy gyfrol, yn 1803.]

9. 'Prif Ddyledswyddau Cristion, sef Anghenrhaid a Mawrlles Gweddi Gyffredin, a mynych Gymmuno, &c. O waith y Gwir Barchedig Dad yn Nuw, William Beveridge, D.D. Diweddar Esgob Llan Elwy. Ac o gyfieithiad Edward Samuel.

Caerlleon: Printiedig gan John Fletcher, 1793.' 227 tudalen 12plyg.

Cyhoeddwyd rhan arall yn yr un flwyddyn, wedi ei argraffu yn yr un modd, ond gyda rhai chwanegiadau; ac hefyd llythyr cyflwyniadol i 'Watkin Williams Wynne Esqr o Wynnstay.' Y mae yn dilyn yr ail ran 'Tair o Bregethau, y Gyntaf o waith Archesgob Tillotson, y ddwy olaf o waith yr Esgob Beveridge. Caerlleon, Printiedig gan J. Fletcher.'

10. 'Meddyliau yr Esgob Watson am y Cyfnewidiad diweddar yn llywodraeth Ffrainc, Rhyddid crefyddol, a Hawl yr Ymneillduwyr, wedi eu gosod allan ger bron Gweinidogion Esgobaeth Llandaf, yn yr Ymweliad diweddaf, Mehefin 1791.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Ross. M,DCC,XCIII. [Pris dwy geiniog.]'

Richard Watson, D.D., a anwyd yn Heversham, Westmorland, yn y fl. 1737, ac a gafodd ei ddysgeidiaeth yng Ngholeg y Drindod, Caergrawnt. Gwnaed ef yn esgob Llandaf yn 1782. Yr oedd yn ysgrifenydd enwog a helaeth. Y mae ei 'Apology for the Bible,' yn cael ei ystyried yn orchestol. Bu farw Gorph. 4. 1816.*

11. 'Cyngor Cristionogol, mewn efengylaidd gariad, at bawb y mae yn perthyn iddynt, &c.

Caerfyrddin, Argraffwyd tros yr awdwr gan I. Daniel. M,DCC,XCIII.'

12. 'Y Drefn i gynnal Crefydd yn Unol Daleithiau America: ynghyd a Darluniad byr o Kentucky, a rhesymau digonol i gyfiawnhau'r cyfryw sy'n myn'd o'r wlad hon i America, a Chyngor i'r Cymry. Pris 2c. neu 1s. 6c. y ddysen. Gan Morgan ab Ioan Rhys.'

13. 'Dwy Farwnad ar Farwolaeth y Parch. Josiah Evans, o'r Ty'n y Cwm, yn Abergwesyn. I. Gan Sechariah Thomas. I'i Gan John Evans.

* Stephen Jones's *Biographical Dictionary.*

Trefecca. M,DCC,XCIII.'

14. 'Pharmacopeia, or Medical Admonitions, English and Welsh, Containing a select body of useful and elegent [?] Medicines, for several disorders incident to the human body. By N. Williams. The first part.

Trevecka: Printed, M,DCC,XCIII. (Price Sixpence.)'

15. 'Llythyr y Gymmanfa yn y flwyddyn 1793.

Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth yno gan I. Daniel. M,DCC,XCIII.'

16. 'Iachawdwriaeth. Gan Benjamin Francis, A.M.

Caerfyrddin, Argraphwyd, ac ar werth yno gan I. Daniel. M,DCC,XCIII.'

17. 'Llythyr oddiwrth Gymmanfa o Weinidogion a gyfarfuant yn y Bala, yn sir Feirionydd, Mai 29, a'r 30, 1793. At Eglwysi yr Ymneillduwyr Protestanaidd yng Nghymru, a elwir yn gyffredin Independiaid.

Trefecca, Argraphwyd yn y flwyddyn M,DCC,XCIII.'

18. 'Ymddiddan rhwng y Pulpit a'r Ddesg ddarllain.

Liverpool. J. M'Creery, Printer. 1793.'

19. 'The Celtic Remains, originally collected by the late Lewis Morris; augmented and arranged by Walter Davies, of All Souls College, Oxford.

London, E. Williams. 1793.'

[Nid argraffwyd mo hono ; ac y mae yn aros mewn llawysgrifen hyd y dydd hwn. Cyhoeddwyd hysbysiad yn ei gylch yng nghysswllt â Gwaith Llywarch Hen, ond ni ddaeth byth allan. Y mae Gwallter Mechain yn un o'i Lythyrau a gyhoeddwyd yn ei *Waith* (cyf. iii. t. 544) yn rhoi y rheswm pa ham nad aeth efe rhagddo i orphen y gwaith a'i gyhoeddi.]

20. 'The Works of Taliesin, a Bard of the sixth century. With a Literal English Version and Notes. By William Owen.

London: E. Williams.'

[Ni chafodd hwn chwaith mo'i argraffu, os cafodd erioed ei ysgrifenu.]

21. 'Awdyl ar Dymhorau y Vlwyzyn, Testyn Cymdeithas y Gwynezigion i Eistezvod y Bala, 1793. Gan Richard Powell, o Yspytty Ivan.

Llundain: Argrafwyd dan hawl yr Awdur, 1793.' 8plyg.

[Y mae yr 'Awdyl' hon oll drwyddi wedi ei sillebu yn ol llythyraeth y Dr. Owain Puw yn yr argraffiad cyntaf o'i Eiriadur; a cheir nodyn ar y pwnc ar y trydydd tudalen, yr hwn yn ddilys a ysgrifenwyd gan y Doethor ei hun. Y mae ar y 24 mesur, a chynnwys 28 o dudalenau ar bapyr hynod gryf. Y mae yr ysgrifen gyssefin, gyda holl gyfnewidiadau llythyraethol y Dr. Puw, ar gadw yn y Gywreinfa Brydeinig, yn Llundain. Gwr ieuanc gobeithiol oedd yr awdwr; ond yn fuan ar ol cyfansoddi yr Awdl hon, a derbyn yr ariandlws am dani, collodd ei fywyd wrth geisio croesi bryniau Penmachno ar noson dywell, pan yr oedd hi yn bwrw eira. Ar ol ei farwolaeth, rhoddodd ei fam drallodus ei ariandlws i'w gadw i Wallter Mechain.*]

Cafodd awdwr yr awdl hon wobr o dlws gan Gymdeithas y Cymreigyddion am ei waith fel y goraf yn Eisteddfod y Bala. Cyhoeddwyd hon, ac un arall gan Edward Williams *(Iolo Fardd Glas)*, ar draul y Gymdeithas. Nid oes ond ychydig i'w ddywedyd am yr awdwr. Edward Williams ydoedd yn byw yn y Bont Faen, Morganwg, ac yno yn dilyn ei alwedigaeth fel cylchwr. Cyrhaeddodd gryn lawer o wybodaeth hanesyddol o dan radd fawr o anfantais. Cyfansoddodd a chyhoeddodd Eirlyfr o dan yr enw 'Cyneirlyfr,' yr hwn sydd yn brawf o ddiwydrwydd mawr o dan anfanteision o dlodi a diffyg dysgeidiaeth. Cyrhaeddwyd hefyd gasgliad barddonol o'i eiddo. Dysgybl ydoedd i Iolo Morganwg. Bu farw tua'r fl. 1856, yn fwy na 80 oed. Yr oedd Richard Powell yn enedigol o Lanegryn, yn sir Feirionydd. Collodd ei fywyd wrth groesi mynydd Penmachno.†

22. 'Rhesymmau Ysgruthurol i brofi fod Iesu Grist yn Wir Dduw yn gystal ag yn wir ddyn.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Ross (Gwerthwr Llyfrau, &c.) 1793.'

23. 'Gorfoledd y Gwirionedd: sef hanes Treial Mr. E. Elwall, ger bron y Barnwr Denton, am gyhoeddi Llyfr mewn amddiffyniad o undod Duw, yn Eisteddfod Stafford yn y Flwyddyn, 1726.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Ross, yn Heol-Awst. 1792.'

Cyfieithwyd a chyhoeddwyd hwn gan y diweddar T. Evans, Aberdâr, yr Undodiad.

Thomas Evans ydoedd fab i Evan a Hannah John, ac a anwyd mewn ty bychan ar dyddyn a elwir Capel St. Silin, ger Brechfa, ym mhlwyf Llanfihangel Rhos y Corn, yn sir Gaerfyrddin, Mehefin 20, 1766. Gwëydd ydoedd wrth ei gelfyddyd. Ni chafodd ond tua blwyddyn o ysgol. Gwnaed ef yn weinidog yr Undodiaid yng Nghwm Cothi, ac wedi hyny yn Aberdâr. Cyfieithodd a chyfansoddodd amrai fân lyfrau Cymreig, gan mwyaf, os nad oll, ar y ddadl Undodaidd, dros yr hyn yr oedd yn amddiffynydd gwresocaf ei oes. O blegid ei syniadau gwladol yn amser y Chwyldroad Ffrancaidd, bu yng ngharchar ac ar y rhigod. Bu farw Ionawr 29, 1833, yn 68 oed.

* *Gwaith Gwallter Mechain*, iii. 457, 458.

† Leathart's *Origin, &c., of the Gwyneddigion Society.*

24. 'Traethawd Byrr ar yr Angenrheidrwydd anhebgorol o Iawn Crist, neu y tueddiad peryglus mewn Sosiniaeth wedi ei ystyried. Gan y Parch. W. Roby, Gweinidog yr Efengyl, Wigan, Lancashire.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Ross, yn Heol-Awst, M,DCC,XCIII.'

Y mae yn ei ragflaenu anerchiad gan y cyfieithydd, 'J. Griffith, Glandwr, Ebrill 12. 1793.' Yr awdwr,
WILLIAM ROBY a anwyd yn Haigh, ger Wigan, yn sir Lancaster, yn 1766. Cafodd ei ddysg yng Ngholeg yr Arglwyddes Huntingdon, yn Nhrefecca, gyda bwriad i fod yn weinidog yn yr Eglwys Sefydledig; ond efe a ddewisodd Fethodistiaeth yr Arglwyddes hono. Ac wedi bod yn cyflenwi ei chapelau mewn amryw leoedd, efe a sefydlodd fel gweinidog i gynnulleidfa o Ymneillduwyr ym Manchester. Bu farw yn 1808, yn 42 oed.*

25. 'Poetical Remains of Llywarch Hen, by William Owen. Cyhoeddedig gan Gymdeithas y Cymreigyddion.'†

26. 'Tracts Historical and Critical. By the late Thomas Llewelyn, LL.D.

Shrewsbury: Printed and sold by J. & W. Eddowes. Sold also by Rivington, and Longman, London; Fletcher, Oxford; Merrill, Cambridge; Marsh, Wrexham; Poole and Broster, Chester; and Roden, Denbigh. 1793. [Price Four shillings and sixpence, in boards.]' [8vo.]

[Adargraffiad ydyw hwn o rif 15, d.f. 1768, a rhif 9, d.f. 1769. Cyflwynir ef gan y golygydd, yr hwn ni roddir ei enw, i'r 'Gwir Barchedig Ioan, Arglwydd Esgob Bangor,' i ymdrechiadau a haelioni yr hwn y dywedir 'fod Cymru yn ddyledus am yr argraffiad unplyg o'r Beibl Cymraeg a ddaeth allan o Wasg Clarendon yn Rhydychain ar ddiwedd y flwyddyn 1789, i gyflenwi diffygion yr Eglwysi.' Y mae dau draethawd y Dr. Llewelyn wedi eu hargraffu yma yn dlws, ac, yn ol pob ymddangosiad, yn gywir hefyd, ac ar bapyr da.‡]

Cynnwys yr uchod y ddau draethawd a gyhoeddwyd o eiddo y Cymro gwladgarol, Dr. Llewelyn.§ Y waith hon, hwy a gyhoeddwyd gan eglwyswyr; y cyntaf wedi ei gyflwyno i esgob Bangor, a'r ail i 'George, Prince of Wales' (Sior IV); er ei fod yn waith un o'r Bedyddwyr.

27. 'Can Diddarfod; sef Pennillion Addysgiadol, o gyfansoddiad Ioan ab Gwilym, St. Athan, yn sir Forganwg.

Argraphwyd yn y Flwyddyn 1793.'

28. 'Dwy Farwnad: Y Gyntaf, o Goffadwriaeth am Lewis Evan, o Lanlligan, Sir Drefaldwyn, Pregethwr yr Efengyl: Yr

* *Congregational Magazine*, vol. xiv. p. 1, &c.

† Leathart's *Origin, &c., of the Gwyneddigion Society*. [Nid ymddangosodd un llyfr o'r fath. Ymddengys mai rhif 7, d.f. 1792, a olygir.]

‡ *Llythyr* Mr. Morris Davies.

§ Gwel rhif 15, d.f. 1768; a rhif 9, d.f. 1769; a hwn yma.

hwn a ymadawodd a'r Bywyd hwn, Medi y 5med, 1792. ei Oed 73. Yr Ail, o Goffadwriaeth am John Price, gynt o Frynengan, yn Sir Gaernarfon; ac yn ddiweddar o Lanidloes, yn Sir Drefaldwyn: Yr hwn a ymadawodd a'r Bywyd hwn, Chwefror 1af, 1793—ei Oed 49.

Machynlleth: Argraphwyd yn y Flwyddyn 1793.'

Y mae Pennill ar y diwedd 'O Gyfansoddiad Ishmael Jones.'

29. 'Natural Evil from God. Being the Substance of a Discourse Delivered at Pen y Bryn Meeting-house, in Wrexham, on the General Fast-day, April 19th 1793. By Jenkin Lewis.

Wrexham, Printed by J. Marsh. 1793.'

Jenkin Lewis a anwyd yn agos i Gastell Nedd, Morganwg, yn 1749. Cafodd ei ddysgeidiaeth yn yr Athrofa Ymneillduol yn Abergafenni, a Chroesoswallt, o dan yr athrawon y Doctoriaid Davies a Williams, lle y gwnaeth gynnydd cyfrifol yn yr ieithoedd Groeg a Lladin. Ordeiniwyd ef yn 1785 yn weinidog i gynnulleidfa Ymneillduol yn Llanfyllin, ac wedi hyny symmudodd i Wrecsam yn athraw dilynol i'r Dr. Williams, lle y bu 17 o flynyddau, pryd y symmudodd i Manchester.* Bu farw yn y Casnewydd ar Wysg, sir Fynwy, Awst 11, 1831, yn 71 oed.*

30. 'Amddiffyniad o Benarglwyddiaeth y Tad. Mewn Pregeth a bregethwyd gerllaw Brechfa, yn Sir Gaerfyrddin, Ion. 26, 1792. Gan T. Evans. Pris 2 geiniog a dimau.'†

31. ¶ 'Sylwad Byrr ar y Papur.'

Y papyrau hyn oedd rifres a elwid 'Papurau Achlysurol o ddadleuon sectaraidd, a phersonol, isel, rhwng y Dr. Richards o Lynn a'r Parch. Joseph Harris (Gomer) o Abertawy.' Y mae yn syn nad yw bywgraffwyr yr enwog Harris yn crybwyll dim am y sarhâd hwnw a daflwyd arno gan yr ysgolhaig o Lynn, yr hwn yng nghyhoeddiad y papyrau hyny ydoedd yn goriselu ei hun, yn fwy na'i wrthwynebydd mwy medrus, er yn llai ei ddysg.

32. 'Hanes Fer am Joseph Tlawd, &c. Ynghyd a Gogoniant y Creawdwr: neu Iachawdwriaeth o flaen Creadigaeth. At yr hyn y 'chwanegwyd Clodforedd y rhai a adwaenant Grist.

Caerfyrddin: Argraphwyd gan I. Ross, yn Heol Awst, M,DCC,XCIII.'

33. 'Ychydig o Hymnau Newyddion, ar amryw fesurau. At ba rai y chwanegwyd, Can, o Gyngor i Ieuengctid. Gan Joseph Harris, Castell Blaidd, gerllaw Llangloffan, Sir Benfro.

* *Hanes Crefydd yng Nghymru*, gan y Parch. D. Peter, argraffiad cyntaf, t. 687; *Cofiant* ei Fywyd; *Quart. Mag.* 1831, p. 528.

† Hysbysiad yn niwedd hanes prawf Mr. Elwall.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Daniel. M,DCC,XCIII.'

34. ¶ 'Tour through the South of England, Wales, and part of Ireland, made during the Summer of 1791. By E. D. Clarke. 1793.' [8vo.]

Y Clarke hwn ydoedd yr enwog Dr. Clarke y teithydd.

[Y Dr. EDWARD DANIEL CLARKE a anwyd yn Wilingdon, Sussecs, ar y 5med o Fehefin, 1769; a derbyniodd ei ddysg yng Ngholeg Iesu, Caergrawnt. Gwedi ymadael â'r brifysgol dechreuodd ar ei deithiau trwy wahanol barthau o Ewrop, Asia, ac Affrica, o'r rhai y cyhoeddodd hanes tra dyddorol mewn amryw gyfrolau. Cyhoeddodd hefyd rai gweithiau ereill. Yn 1808 penodwyd ef yn Broffeswr Mwnofyddiaeth yng Nghaergrawnt. Bu farw yn Llundain, Mawrth 9, 1822, a chladdwyd ef yng Nghapel Coleg Iesu. Y mae casgliad o'i wahanol ysgrifeniadau yn llenwi 11 gyfrol 8plyg.]

35. ¶ 'Traveller's Companion from Holyhead to London. 1793.'

36. 'Y Brenin a'r Llywodraeth: neu, y Refoliwsion yn 1688, wedi gwneuthur Ail Refoliwsion yn afreidiol i'r Brutaniaid.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Ross, yn Heol-Awst. M.DCC.XCIII.'

37. 'Enlarging, Improving, and Regulating the Harbour of Carnarvon, with a list of the Trustees.'

Gweithred seneddol leol gywrain yw hon.

38. ¶ 'Tintern Abbey, Monmouth, Discriptive Account of the Cisterian Order of Monks, and History of Monasteries, &c. By Charles Heath.

Monmouth. 1793.'

## 1794.

1. 'The Literary Life of the late Thomas Pennant, Esq. By Himself.

London, Printed by B. & J. White.' 4to.

2. ¶ 'Pregeth am y drwg o farnu yn galed am eraill a'u dirmygu. Gan Josiah Rees.

Llundain, Argraphwyd gan V. Griffith, Paternoster row.'

3. 'Drych y Prif Oesoedd, yn ddwy ran. I. Yn traethu am hen ach y Cymry, o ba le y daethant allan, y Rhyfeloedd a fu rhyngddynt a'r Rhufeiniaid, y Brithwyr, a'r Saeson, a'u Moesau cyn troi yn Gristionogion. II. Yn traethu am Bregethiad a chynnydd yr Efengyl ym Mrydain, Athrawiaeth y Brif Eglwys, a Moesau'r prif Gristionogion. Gan Theophilus Evans, gynt Ficar Llangammarch, yngwlad Fuellt, a Dewi, yn swydd Frecheiniog.

Croesoswallt, Argraphwyd gan W. Edwards. M,DCC,XCIV.'*

4. 'Cyngor Gamelin, neu Ddyledswydd Brydain : mewn Pregeth ar ddydd Ympryd, Chwefror 28, 1794.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Ross, 1794. (Pris 2d.)'

5. 'Hymnau a Chaniadau Ysprydol. Yn dri llyfr, &c. Gan Isaac Watts, D.D. Ac a gyfieithwyd i'r Gymraeg gan Dafydd Jones, Cyfieithydd y Salmau. Y trydydd Argraphiad.†

Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Ross, yn Heol-Awst. M,DCC,XCIV.'

Cynnwys y llyfr uchod 238 o dudalenau 12plyg.

6. 'General View of the Agriculture of the County of Pembroke, by Charles Hassall.

London, 1794.' 4to.

[Cyfeirir at y gwaith hwn yn fynych gan y Parch. Walter Davies yn ei 'General View of the Agriculture and Domestic Economy of South Wales :' Llundain, 1814, 2 gyfrol 8plyg. Yr oedd Mr. Hassal yn byw yng Nghil Rhiwau, yn swydd Benfro.]

7. 'Yr Athrawiaeth Gatholig o Ddrindod, gwedi ei phrofi trwy ragor nâ chant o Resymmau byrr ac eglur, pa rai a draethir yng Ngeiriau'r Ysgrythur Lân, a'i chydmaru mewn Dull hollol newydd : Ac a ddosberthir dan y pedwar Titl canlynol, 1. Duwdod Crist. 2. Duwdod yr Yspryd Glân. 3. Drindod o Bersonau. 4. Drindod yn Undod. Ynghyd â Rhai Holiadau, wedi eu chwanegu yma a thraw yn achlysurol, ar rai Ysgrifenwyr ag sydd yn proffesu Athrawiaeth Arius, yn enwedig y Dr. S. Clarke. Gan William Jones, M.A. F.R.S. Person Paston, yn Swydd Northampton, a Gweinidog Nayland, yn Swydd Suffolk. Newydd ei gyfieithu o'r chweched argraphiad Saesoneg, i'r Gymraeg, ac mewn rhyw fesur wedi ei dalfyrru, gan J. Williams.

Trefecca : Argraphwyd yn y flwydddyn M.DCC.XCIV.' [12plyg.]

Cynnwys hwn 96 tudalen 12plyg. Yr awdwr,

'WILLIAM JONES, M.A., F.R.S.' [a anwyd yn y fl. 1726, yn Lowic, yn swydd Northampton. Cafodd ei ddysg yn Ysgol y Siartrws, Llundain, ac yng Nghholeg y Brifysgol yn Rhydychain. Ar ei ymadawiad â'r brifysgol urddwyd ef, a chafodd yn gyntaf guradiaeth Ffinedon yn ei swydd enedigol, ac wedi hyny guradiaeth Wadenho, lle yr ysgrifenodd y gwaith a gofnodir yma ; a chyhoeddodd wedi hyny amryw o weithiau rhagorol ereill. Yn 1764 rhoddes Archesgob Caergaint iddo ebrwyadaeth Bethersden, yng Nghaint, at yr hon wedi hyny y chwanegwyd rheithoriaeth Pluckley. Ar amser ei farwolaeth yr oedd yn gurad parhäus Nayland, ac yn rheithor Paston a Holingborn. Bu

* Ymddengys fod hwn y trydydd argraffiad, gwel rhif 4, d.f. 1716 ; rhif 4, d.f. 1740 ; a hwn yma.

† Gwel rhif 27, d.f. 1775 ; a rhif 17, d.f. 1791.

farw yn 1800. Cynnwysir ei holl weithiau duwinyddol ac athronyddol mewn 12 cyfrol 8plyg. Yr oedd yn gyfaill mawr i'r Esgob Horne, awdwr yr Esboniad ar y Salmau ; ac yn gaplan iddo ; a chyfrifid bod y ddau yn gogwyddaw, o ran eu golygiadau, at Hutshinsoniaeth.]

JOHN WILLIAMS, y cyfieithydd, ydoedd ail fab i'r Parch. W. Williams, o Bant y Celyn, y bardd Cymreig clodfawr. Ganwyd ef Mai 23, 1754. Cafodd gynsail ei ddysgeidiaeth o dan ofal un Mr. Williams, mewn lle a elwir Coed Cochion, a'r hwn a fu wedi hyny yn weinidog yn yr Eglwys Sefydledig yn Llandeilo'r Fan, ac hefyd yn bregethwr teithiol ym mhlith y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig. Symmudwyd ef wedi hyny i'r Ysgol Ramadegol yng Nghaerfyrddin, lle y cyrhaeddodd radd uchel mewn dysgeidiaeth, fel y penodwyd ef gan yr esgob yn is-athraw. Gwedi cael hawl i Eglwys Llanfynydd, yn sir Gaerfyrddin, efe a ordeiniwyd yn ddiacon gan y Dr. Warren, yn Abergwili, Hydref 17, 1779 ; ac yn offeiriad yn 1780. Yn Awst, 1782, cafodd guradiaeth Llanfair ym Muallt, a Llanddewi'r Cwm, yn sir Frycheiniog. Pan oedd yno mabwysiadodd egwyddorion Methodistiaeth, a phenodwyd ef gan yr Arglwyddes Huntingdon i lywyddu ei Choleg yn Nhrefecca, lle y bu o'r hanner blwyddyn diweddaf yn 1784 ; ac wedi hyny am bum mlynedd, sef hyd Ebrill, 1791. O hyn hyd ddiwedd ei oes, llafuriodd fel gweinidog teithiol ym mhlith y Methodistiaid Calfinaidd. Bu farw Mehefin 5, 1828, yn 74 oed.*

8. 'Llyfr Gweddi Gyffredin.

Argraphwyd yng Nghaerlleon, gan. J. Fletcher.'

9. 'Crist Bywyd y Credadyn ; sef Pregeth a bregethwyd ar farwolaeth Madam Jones, o Pencerrig, yn Sir Faesyfed, Ar Philipiaid i. 21. At ba un y 'chwanegwyd rhai Hymnau Newyddion. Gan Ioan Tomas, Gweinidog yr Efengyl. Yn awr wedi ei chyfieithu i'r Gymraeg, ar ddymuniad amryw, gan yr Awdwr.

Caerfyrddin, Argraffwyd dros yr awdwr gan J. Daniel, yn Heol y Farchnad isaf. MDCCXCIV.'

10. ¶ 'Egwyddorion yr Iaith Gymraeg, gan H. a Dafydd Thomas.'

Y Dafydd Thomas uchod ydoedd y Bardd o'r Waen Fawr [*Dafydd Ddu Eryri*] yn Arfon. Yr H. Thomas hwn ydoedd gynghorwr Methodistaidd, o Leyn, ac o blegid ei grefydd a fu yn gorfod ffoi rhag ei erlidwyr i ardal Llanberis, ac i sir Fon, lle y bu farw, yn oedranus iawn.† Llyfr ysgol, neu sillebydd ydoedd ; ac y mae yn debyg y gwerthid hwy gan H. Thomas, wrth deithio ar hyd y wlad i gynghori neu bregethu, yn y dyddiau hyny, pan oedd y cyfryw lyfr yn gwbl angenrheidiol.

* *Coffadwriaeth*, &c., gan y Parch. Maurice Davies, Pont y Pwl, 1830.

† *Goleuad Cymru* am Awst, 1823 ; *Drych yr Amseroedd*, argraffiad cyntaf, t. 110 ; *Methodistiaeth Cymru*, cyf. ii. t. 133-4.

11. ¶ 'De Ultimo Judicio: neu Gân am y Farn Ddiweddaf, &c. Wedi ei gyfansoddi a'i gydmaru â gwaith Saesonaeg Mr. B. Francis. Gan M. Williams.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Daniel.'

12. 'Casgliad defnyddiol o waith amryw awdwyr, wedi cael eu cynnull gan Edward Roberts, Ty newydd, Cefn-y-ddwysarn, ger-llaw y Bala.

Argraffwyd yn Ngwrecsam, gan A. Hughes.'

Cynnwysa yr uchod 'Athrawiaeth i ddysgu ddarllain,' &c.; 'Naw o Lythyrau Ellis Roberts, y Cowper;' 'Hanes Mr. Richard Brightley; ac 'Awdl ar Ddadl y Nefoedd.'

13. 'An English-Welsh Dictionary, wherein, not only the Words, but also, the Idioms and Phraseology of the English Language, are carefully translated into Welsh, by proper and equivalent Words and Phrases: With a regular interspersion of English Proverbs, and proverbial expressions, rendered by corresponding ones in the Welsh Tongue. By the Rev. John Walters, Rector of Landough, Glamorganshire.

London: Printed for the Author. M.DCC.XCIV.' [4to.]

Dywedir y troes cyhoeddiad y gwaith hwn allan yn fawr golled fasnachol, trwy golli rhan fawr o hono mewn llongddrylliad, ac ni chafodd ond ychydig o'r derbynwyr yr holl lyfr. Cyhoeddwyd y rhan gyntaf yng Nghymru, Mehefin 5, 1770, a'r ddiweddaf yn Llundain, yn 1794.* Cyhoeddwyd ef wedi hyny, yn lled anghywir, yn Nolgellau; ac yn 1828, gan ei wyres, dan gefnogaeth y Milwriad Hughes, wedi hyny Arglwydd Dinorben.

14. 'Musical and Poetical Relics of the Welsh Bards; Preserved by Tradition and Authentic Manuscripts, from very remote Antiquity; Never before Published, &c. With a select Collection of Pennillion and Englynion, or Epigrammatic Stanzas, Poetical Blossoms, and Pastoral Songs, of Wales, with English Translations. Likewise, a General History of the Bards and Druids, from the earliest period to the present time: with an account of their Music and Poetry. To which is prefixed, a Copious Dissertation on the Musical Instruments of the Aboriginal Britons. By Edward Jones, Bard of the Prince, native of Henblas, Llandderfel, Merionethshire.

* *Y Brython*, 1863, t. 208.

London, Printed. 1794.'*

Nid oedd hwn ond y rhan gyntaf, daeth dwy ar ol hyn, y ddiweddaf yn 1820. Cyhoeddwyd hwynt oll yn 1839, gan Mr. John Parry *(Bardd Alaw)*.

15. 'Poems, Lyric and Pastoral. In two volumes. By Edward Williams, Bardd wrth Fraint a Defod Beirdd Ynys Prydain.

London, Printed for the Author, by J. Nicholas, 1794.'

Cyfrolau bychain 12plyg ydynt, ond yr oeddynt yn werth deg swllt trwy danysgrifiadau. Yr oedd agos holl bendefigion y deyrnas yn dderbynwyr.

16. 'Llythyr y Gymmanfa yn y flwyddyn 1793.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan John Daniel.'

17. 'An Historical Account of Ludlow Castle, the Ancient Palaces of the Princes of Wales, and Supreme Court of Judicature of the President and Council of the Welsh Marches. Compiled from Original Manuscripts, &c. &c. With an Appendix. By W. Hodges, Attorney at Law. Sparsa collegi.

Ludlow: Printed and sold for the Editor by W. Felton; Sold also by J. Evans, Paternoster-Row, London. M,DCC,XCIV.'

18. 'Athrawiaeth y Drindod, mewn rhan o Lythyr Cymmanfa oddiwrth Weinidogion a Chenhadon amryw Eglwysi Bedyddiedig, mewn cyfarfod yn Olney, Bucks, yr 28, 29 o Fai, 1776. A ysgrifenwyd gan y diweddar wir Barchedig Mr. Robert Hall. Ac a gyfieithwyd o'r ail argraphiad Saesonig gan Josuah Thomas.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan John Daniel. M,DCC,XCIV.'

ROBERT HALL a anwyd yn Arnsby, sir Leicester, yn 1764, ac oedd yn fab i Robert Hall, gweinidog enwog gyda'r Bedyddwyr yno, ac awdwr rhai traethodau poblogaidd ac efengylaidd. Cafodd ei ddysgeidiaeth o dan y Parch. Caleb Evans, ym Mristol [ac wedi hyny ym Mhrifysgol Aberdeen, lle y cymmerodd ei radd o A.C.]. Bu flynyddoedd yn gweinidogaethu i gynnulleidfaoedd y Bedyddwyr yng Nghaergrawnt a Bristol. Cyhoeddodd lawer trwy y wasg, ac yr oedd yn ei oes yn un o'r pregethwyr mwyaf athrylithgar a esgynai areithfa. Bu farw Chwefror 21, 1831, yn 68 mlwydd oed.†

[Rhaid mai Robert Hall yr hynaf oedd awdwr y gwaith hwn; canys nis gallesid galw Robert Hall yr ieuaf, yr hwn a fu yn 1831, yn '*ddiweddar* wir Barchedig' yn y fl. 1794; ac nid oedd yr ieuaf o'r ddau Hall ond 12 mlwydd oed yn 1776. Y mae yr awdwr gan hyny wedi rhoddi cofnod bywgraffyddol o'r mab wrth gofrestru llyfr o waith y tad.]

* Ail argraffiad, tybygid, gwel rhif 13, d.f. 1784. Rhoed allan argraffiad yn 1812. Cyhoeddodd yr un awdwr y 'Bardic Museum of Primitive Literature, and other admirable rarities' (London, 1802); 'Lyric Airs' (London, 1810); 'Terpsichorre's Banquet, or Select Beauties of Various National Melodies' (London, 1823).

† Stephen Jones's *Biographical Dictionary*.

19. 'Pneumatics, neu Gwaedd yn Neheubarth a Gwynedd, yn erbyn y gormeswr creulon hwnw, sef Capten Tivor, &c. O gasgliad J. Williams.

Trefecca. M,DCC,XCIV.'

20. 'Pigion o Hymnau a Salmau, &c. O gasgliad Morgan ab Ioan Rhus. Y rhan gyntaf, pris Tair Ceiniog.

Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth gan Ross a Daniel. 1794.'

21. 'Sylwadau ar y Dirywiaeth mewn Pregethu a Chanu, yng Nghymru. At ba rai y 'chwanegwyd atteb y cyfieithydd, &c.

Nid Preiliaid, Ffeiriaid, neu Fferen—ddylem
Ni ddilyn yn llawen,
Mab Duw, nid Pab yw ein Pen,
Cydbwys i fod ein Cadben.

Gan William Williams, J. P. & V. D. M. Wedi ei Gymreigio gan Morgan ab Ioan Rhus.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Daniel, yn Heol-y-farchnad. M,DCC,XCIV.'

Y llythyrenau ar ol enw yr awdwr a arwyddant ei fod yn ynad heddwch, ac yn weinidog yr efengyl.*

22. 'Can Newydd o berthynas i'r Rhyfel a'r Terfysg sydd y pryd hwn tros ran fawr o'r byd. Gan John Morgans.

Llundain, Argraffwyd.'

23. 'Llythyr Cymmanfa Ddeheuol y Bedyddwyr yng Nghymru, yr hwn a gynhaliwyd yn Olcton, yn Sir Henffordd, y 4ydd a'r 5ed o Fehefin, yn y flwyddyn 1794.'

Nid oes enw argraffydd wrth y llythyr Cymmanfa hwn.

24. 'Tabl yn cynnwys Maintioli, Hŷd, Lled, a Rhifedi'r Trigolion, ynghyd a'u hamrywiol grefyddau yn holl Wledydd ac Ynysoedd y byd. Hefyd y mae yn canlyn Ymofyniad i'r angenrheidrwydd o arferyd moddion i ddychwelyd y Paganiaid i wybodaeth o'r unig wir Dduw a'r Iachawdwr Iesu Grist, ynghyd a'r rhesymau sydd ar y Cristionogion i ddiwygio oddiwrth goelgrefydd. Meddyliau Prophwydoliaethol am y cyfnewidiad diweddar yn Ffraingc. Llythyr oddiwrth Wr bonheddig o Paris, yn cynnwys Prophwydoliaethau hynod a gafwyd ar garreg wedi bod o gylch 600 mlynedd dan sylfaen tŷ. At ba un y chwanegwyd, Pregeth ar yr achos o Ryfeloedd, oddiwrth y Barnwyr v. 8.

* Gwel rhif 13, d.f. 1769. [V.D.M. = *Verbi Dei Minister* = Gweinidog Gair Duw, neu G.G.D.].

Caerfyrddin, Argraphwyd dros y cyhoeddwr gan I. Ross. 1794.'

25. 'Annerchiad difrifol i'r Cymry.

Gwrecsam. 1794.'

Y mae dwy bregeth yn gyssylltedig â'r 'Annerchiad' hwn, un gan M. I. Rhus, a'r llall gan John Jones, Ramoth, wedi hyny, y rhai a draddodwyd yng Nglyn Ceiriog, sir Ddinbych, ar yr achlysur o neillduo henuriaid a diaconiaid i eglwys y Bedyddwyr yno.

JOHN JONES, neu J. R. JONES, a anwyd ym mhlwyf Llanuwchllyn, yn sir Feirionydd, Hydref 13, 1765. Dygwyd ef i fyny ym mhlith yr Annibynwyr; ond efe a gofleidiodd egwyddorion y Bedyddwyr, ac a aeth yn aelod, ac wedyn yn weinidog cynnulleidfa Ramoth, yn sir Feirionydd. Yr oedd yn meddu doniau a dealltwriaeth cryf. Efe a fabwysiadodd y golygiadau Sandemanaidd ar drefn iachawdwriaeth, ac ar ordinhadau, gweinidogaeth yr efengyl, a threfn eglwysig, yr hyn a barodd ymraniad mawr ym mhlith y Bedyddwyr yng Ngogledd Cymru. Cyhoeddodd erthyglau ei ffydd, a darnau dadleuol ereill, yn benaf yn *Seren Gomer*. Yr oedd ym meddu dawn barddonol da, a chyhoeddodd lyfr hymnau helaeth, ei waith ei hun gan mwyaf. Bu farw Gorph. 27, 1822, yn 56 oed, wedi bod 43 mlynedd yn weinidog y gynnulleidfa uchod.*

26. 'Marwnad, neu Dduwiol Goffadwriaeth am y Parchedig Edmund Jones; gynt gweinidog yr Efengyl yn Ebenezer a Blaenau Gwent, yn sir Fynwy; yr hwn a ymadawodd o'r Eglwys isod ac a aeth i drigfannau'r gogoniant, ar y 26 o Fis Tachwedd, 1793; yn 91 Mlwydd o'i Oed, wedi bod yn y weinidogaeth 70 o Flynyddau. Gan Rees Lloyd. Ac a argraphwyd ar ddeisyfiad yr Eglwys yn Ebenezer. Ynghyd â Phregeth o eiddo y Parch. E. Jones, yn dangos mawr fudd Duwioldeb.

Trefecca, Argraphwyd yn y Flwyddyn. M,DCC,XIV.'

27. 'General View of the Agriculture of the County of Brecknock, With Observations on the Means of its improvement. By John Clarke, Land Surveyor, Builth. Drawn up for the consideration of the Board of Agriculture and internal Improvement.

London: Printed by J. Smeaton. M,DCC,XCIV.'

28. ¶ 'Tirion Wahoddiad i bob pechadur ddyfod at Iesu Grist. Yr ail argraphiad.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan John Daniel, yn Heol y Brenin.'

29. 'Sylwedd dwy Bregeth, ar Neillduaeth John Edwards a Thomas Jones i swydd henuriaid; ac Edward Hughes a John Roberts i swydd diaconiaid, yn nhy cyfarfod y bobl, a elwir yn

* *New Evangelical Magazine*, vol. viii. p. 263, vol. ix. pp. 282-7, 322-7.

Fedyddwyr, yn Glynceiriog, Gorph. 2, 1794. Y Bregeth Gyntaf, ar Ddyledswyddau Swyddogion Eglwysig: a'r ail, ar Ddyledswyddau'r bobl, at eu swyddogion.

Gwrecsam: Argraphwyd gan Joseph Tye—1794. Pris Tair Ceiniog.'

30. 'Heroic Elegies of Llywarch Hen. By William Owen.

London. 1794.'*

[Rhif 7, d.f. 1792, wedi ei gamgyflëu, ydyw hwn. Ni bu ond un argraffiad o'r gwaith hwnw; ac yn 1792 yr ymddangosodd.]

31. 'Arfogaeth y Gwir Gristion, Gwedi ei gasglu allan o'r bedwaredd ran o waith W. Gurnel: Ynghyd â Phregeth fechan, o waith J. Guise, D.D. Y cyfan yn cynnwys I. Defnyddioldeb gweddi, a'r angenrheidrwydd i weddio. II. Rhai moddion ac y mae Satan yn eu harferyd i geisio rhwystro gweddio. III. Yr amryw fath o weddiau a ddylai gael eu harferyd. IV. Pa bethau a ddylai gael eu cynnwys, yn bennaf, yn ein gweddiau. V. Pa beth a feddylir wrth weddio. VI. Yr angenrheidrwydd i wylio gyda â gweddio. VII. Yr angenrheidrwydd i ni weddio dros eraill. VIII. Y mawr angenrheidrwydd i weddio dros Weinidogion y gair, a pha ham y dylid gweddio drostynt. Ynghyd â Deuddeg Rheol yn dangos Dyledswydd Crist'nogion tu ag at eu gilydd. Gwedi eu casglu ynghyd, a'u cyfieithu, gan W. Thomas, Gweinidog yr Efengyl, yn y Bala.

Trefecca: Argraphwyd yn y Flwyddyn M,DCC,XCIV. (Pris chwe' Cheiniog.') [12plyg: 84 tudalen.]

32. ¶ 'The Husbandman's perpetual Prognostication. By. W. Augustus.

Carmarthen, Printed by J. Ross. 1794.'†

WILLIAM AUGUSTUS, awdwr, a detholwr, a chyfieithydd y llyfr hwn, ydoedd yn byw yng Nghil y Cwm, yn agos i Lanymddyfri. Hwn ydoedd yr argraffiad cyntaf. Dywedir ar ragddalen y rhai Seisonig o hono, 'Never before published in English nor in Welsh, in the Principality of Wales.' Cynnwysa yr argraffiad ddwy ran, y flaenaf yn Gymraeg, a'r olaf yn Seisonaeg. Y mae gwyneb-ddalen wahanol iddynt, ond rhifir y tudalenau fel pe baent un llyfr. Blaenorir pob rhan â rhagymadrodd. Terfynir yr un Cymraeg â'r geiriau hyn:— 'Rhai o'r pethau hyn a argraphwyd yn Saesonaeg, ac a gyhoeddwyd yn gyffredinol mewn llyfr a elwir, *A Prognostication for ever made by Erra Pater*, &c., a'r llyfr hwnnw sydd hoff iawn gan lawer iawn o'r Saeson; a phwy bynnag o'r Cymru a hoffant y pethau hyn gwnaent

* *Cambrian Register*, note, p. 23. [Camargraffwyd '1794' yn lle '1792,' yn y Cyfeiriad yn y 'Cambrian Register,' cyf. i. t. 23.]

† *Ysgrif* Mr. B. Davies, Ysgolfeistr.

yn fawr o honynt, oblegyd ni ddont byth allan ar ol hyn drwy fy llaw i. Y rhan fwyaf o honynt a gyfieithwyd o lyfr Saesonaeg, yr hwn a argraphwyd yn y flwyddyn o oed Iesu 1552, a'r rhai eraill o lyfr a argraphwyd yn y flwyddyn 1608, a'r lleill o lyfr a argraphwyd yn y flwyddyn 1611, ac awdwyr y llyfrau hynny oeddynt yn enwi yr hen athrawon, a ysgrifennasant y pethau hyn gyntaf; ac yn gymmaint a bod y llyfr hwn wedi digwydd i'm llaw o dad i dad, tybiais yn addas ac yn ddyledswydd arnaf ei osod allan yn brintiedig, gan hyderu y bydd iddo gael cymmeriad gyd â fy nghydwladwyr, yr hyn yw dymuniad eich gwasanaethwr,

*Cil-y-Cwm, Mawrth* 12, 1794. WILLIAM AUGUSTUS.'

Dyweda henafgwyr Cil y Cwm bethau anhygoel am awdwr y llyfr dan sylw. Yr oedd *Wil Awst* (canys dyna fel yr enwid ef gan y werin) mor adnabyddus o wyneb y wybren, fel y dywedai yn fynych yr awr y deuai corwynt, gwlaw, eira, &c. Dywedir nad oes neb yn bresennol yn yr ardal hòno yn gwybod mwy ar y gelfyddydd ag y bu *Wil Awst* yn bencampwr ynddi, nag sydd mewn ardaloedd ereill, er bod rhai o'i epil ef yn y gymmydogaeth hòno hyd yn hyn. Nid hir iawn y bu efe byw wedi cyhoeddi y llyfr uchod.*

33. ¶ 'Pigion o Hymnau a Chaniadau. Gan Daniel ab Ioan, yn lle Morgan Rhys. 2 Ran.

Caerfyrddin.'†

34. ¶ 'Marwnad . . . Edward . . . . Gan M. Rhus.

J. Ross, Caerfyrddin.'‡

35. 'Antiqua Restaurata. A Concise Historical Account of the Ancient Druids. Shewing their Civil and Religious Governments, Ceremonies, Groves, Derivations and Etymologies, Categorically deduced; With Biographical Sketches. To which will be annexed, The animated Speech of Caractacus, when sent Captive to Rome. Also, The Remains of Druidical Antiquity, in England, Ireland, Scotland, Wales, and France; illustrated with Copious Remarks, the whole drawn from Sources of respectable Information, and by permission inscribed to the United Lodges of the Most noble and venerable Order of Druids. Bu Jacob des Moulins, P.G.A.

London, printed for the author and sold, by Owen, No 168. Piccadilly; Ryan, No 351 Oxford-Road; and Jones, 6 Little Chapel Street, Soho. 1794.' Veritas opposita Mundo. 8vo.

* *Gohebiaeth* Mr. B. Davies ar yr *Erra Pater*, yn y *Brython*, cyf. i. t. 118.

† [Y mae yn adgof genyf weled y llyfr hwn flynyddoedd maith yn ol. Ar ei ragddalen dywedir—'Gan Daniel ab Ioan, o Abertawe.' Nid wyf yn deall pa beth a olygir uchod wrth ddywedyd ei fod—'Gan Daniel ab Ioan, yn lle Morgan Rhys.' Nid oedd gair o son am Morgan Rhys yn y [illegible] y cyfeirir ato.]

‡ *Ysgrif* Mr. Ben. Davies

36. 'The History of Great Britain, connected with the Chronology of Europe: with notes, &c. containing Anecdotes of the Times, Lives of the Learned, and Specimens of their Works. Vol. I. By James Pettit Andrews, F.A.S.

London: Printed by T. Burton and Co. Little Queen-Street, Holborn. For T. Cadell, Strand. M,DCC,XCIV.'*

37. 'Dwy o Gerddi Newyddion. Yn Gyntaf. Ymddiddan rhwng y Dall a'i Arweinydd. Yn Ail. Yn dangos, Trueni y rhai sydd yn Ddeilliaid Ysprydol.

Aberhonddu, Argraphwyd yn y Struet, gan J. Evans. 1794.'

Ar ei ddiwedd dywedir, 'Thomas Edwards a'i Cant.'

38. ¶ 'Tour through Parts of North and South Wales, Sonnets, Odes, and other Poems, with fine Description of Llangollen, &c. By W. Sotheby: With Engravings from Drawings taken on the Spot, by J. Smith. 1794.'

39. ¶ 'General View of the Agriculture of the County of Radnor, With Observations on the Means of its Improvements. By John Clarke, Land-Surveyor, &c. 1794.'

40. ¶ 'Agriculture of North Wales. By George Kay.

Edinburgh, 1794.' 4to.

41. ¶ 'Agriculture of Cardiganshire, from the Communications of Thos. Lloyd, Esq. and the Rev. Mr. Turner. 1794' 4to.

42. ¶ 'Agriculture of Glamorganshire. By John Fox. 1794. 4to.

43. ¶ 'Agriculture of Pembrokeshire. By C. Hassal. 1794.' 4to.

44. ['The English Traveller, a New Historical Survey and Modern Description of England and Wales. By W. H. Dalton.'

London. 1794. 8vo.]

45. ['Gwreiddyn y Matter: neu Hyfforddiad i Wybodaeth y Gwirionedd. A gyhoeddwyd er lles i'r Cymry; sef, I'r diben o wneuthur pethau tywyll yn oleu, a gwneuthyr Crefydd Crist yn hyfrydwch, ac athrawiaeth yr Ysgrythyrau yn flasus; trwy adnabod Duw; Tad, Mab, ac Ysbryd; yn Dad, yn Frawd, yn Briod, yn Gyfaill, ac yn Ddiddanydd i bob enaid grasol.

Argraphwyd dros P. W. &c. 1794.'

* Gwel rhif 15, d.f. 1795.

'Llyfryn bychan o 12 tudalen, ar ddull holi ac ateb, gan y Parchedig Peter Williams, mewn ffordd o amddiffyniad i'r dyrys-bwnc a fu yn achos o gymmaint o anghysur a gofid iddo ef ei hun, ac i'w frodyr crefyddol, yn enwedig yn y blynyddoedd olaf o'i oes.'*]

46. ['Cyfraith Plwyf. Gan Edward Jones.'

Llundain, 1794, 8plyg.

O herwydd difancolli o ddechreu a diwedd y cyfargraff yn fy meddiant, yr unig un a welais o'r gwaith, nis medraf osod i lawr ei enw yn gyflawn. Ar frig y ddalen gyntaf o gorff y llyfr, gelwir ef, 'Holl Ddyledswydd Swyddogion Plwyf.' Yr oedd yn werth tri a chwech o lyfr.

Yr Awdwr, EDWARD JONES, ydoedd wr genedigol o Ynys Fon; o ba herwydd gelwid ef 'Ned Mon' gan ei gyfeillion ym mhlith y Gwyneddigion. Dygwyd ef i fyny yn gynghawsydd, neu ddadleuwr cyfreithiol, ac yr oedd yn aelod o'r Fewnol Deml yn Llundain. Heb law y llyfr hwn, efe a gyhoeddodd 'Index to Records' (rhif 22, d.f. 1795); ac y mae lle i dybied mai efe yw cyfieithydd 'Cicero's Brutus' (rhif 25, d.f. 1770), yr hwn a ymddangosodd, yn ol y Dr. A. Clarke, yn 1776.]

## 1795.

1. 'Tracts of Powys. By Philip Yorke, Esquire, of Erthig, near Wrexham.'

Hwn oedd cynsail y '*Royal Tribes of Wales*,' a gyhoeddwyd wedi hyn. Yr awdwr,

PHILIP YORKE, a anwyd yn Erddig, ger Gwrecsam, yn sir Ddinbych, yn 1743. Wedi cael parotoad cartrefol da, efe a aeth i Gaergrawnt, lle y cyrhaeddodd ei A.C. Bu yn aelod o'r senedd dros Halston a Grantham, yn olynol. Bu farw yn 1804, yn 61 oed.†

[Yr oedd gan Wallter Mechain law neillduol yn y gwaith hwn. Ymddengys mai efe a gynnullodd y rhan fwyaf, os nid y cwbl, o'r defnyddiau, ac na wnaeth Mr. Yorke ychydig ond eu gosod wrth eu gilydd. Fy awdurdod dros draethu hyn yma ydyw un o lythyrau Mr. Yorke at W. Mechain.]

2. 'Annerch Ieuengctyd Cymru. Yn IV. rhan. Yn y Cyfryw yr amlygir llawer o bethau buddiol i Ddealltwriaeth Dynolryw (yn enwedig i'r Ieuengtyd) mewn perthynas i Wlâd ac Eglwys. I. Areithyddiaeth, (Rhetoric) Yn Cynnwys y gelfyddydd o Ddarllain, Ysgrifennu, Ymresymmu, Barddoniaeth, Cyfraith, â Difinyddiaeth. Edrych tu dalen 1. II. Rhifyddaeg, (Arithmetic) Yn Cynnwys helaethrwydd o Reolau buddiol, gyda Thoriadau Degrannau (Decimal Fractions) Ac athrawiaeth i fesur Tîr, Côed, Meini, Gwydr, Llestri, &c. Edrych tudalen 142. III. Naturiawl Athronddysg, (Natural Philosophy) Yn Cynnwys Natturiaethau, Damweiniau, Priodoliaethau ac Effeithiau: Elfenau, Goruchelion, Metelau, Gemmau â Daearwriaeth (Geography) Sêf hanes pedwar chwarter y Byd, &c. Edrych tu dalen 246. IV. Awyriaeth, (Astronomy) Yn Cynnwys Rheolau i

* *Llythyr* Mr. Morris Davies.

† Williams's *Eminent Welshmen.*

ddeall Cwrs yr Amseroedd, a'r Môr, ac i gwmpasu'r Bŷd, Deioli, Lliwo, Paentio, Garddu, Impio, â Phisygwriaeth, &c. Yn Holiadau ac Attebion. Gan John Thomas.

Argraphwyd yng Ngwrecsam, gan M. & S. March, 1795. [Pris Hanner Coron mewn papur glâs.]' 376 o dudalenau 12plyg.

Gelwid yr awdwr yn 'John Thomas, Pen y Ffordd Wen.'

3. 'The Miscellaneous Repository : neu y Drysorfa Gymmysgedig. Rhifyn cyntaf, pris Chwe' cheiniog, i ddyfod allan yn Chwarterawl; am y chwarter haf, 1795.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan I. Ross. 1795.'

Cyhoeddiad chwarterol Undodaidd ydoedd. Tair rhan yn unig a gyhoeddwyd. Ei olygydd ydoedd T. Evans, Aberdâr.*

4. 'Caniadau Duwiol, o waith Mr. Thomas Lewis, gynt o'r Ynyswen, ym mhlwyf Llanegwad, yn sir Gaerfyrddin; ac, ar yr un amser, o Gastell Hywel, yn sir Aberteifi.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Daniel. M,DCC,XCV. [Pris swllt heb ei rwymo.]'

Y mae yn ei ragflaenu 'Cywydd o Ganmoliaeth i Farddoniaeth ardderchog y diweddar Fardd, Thomas Lewis, ynghyd a Rhybudd i'r Darllenydd,' gan 'Dafydd Ionawr.'

5. 'Llythyr Cymmanfa Dde-ddwyreiniol y Bedyddwyr yng Nghymru, yr hon a gynhaliwyd yng Ngroes-y-Parc, yn Sir Forganwg, y 3ydd a'r 4ydd o Fehefin, yn y Flwyddyn 1795. At yr amrywiol Eglwysi perthynol i'r Gymmanfa honno; pa rai ydynt yn cyfarfod yng Nghastell-Nedd, Pen-y-Fai, Nottage, Ystrad-Tyfodog, Croes-y-Parc, Cefn-Hen-Goed, Twyn-Gwyn, Bethesda, Caerlleon, Brynbyga, Pen-y-Garn, Trosnant Blaenau, Llanwenarth, Olchon, Maes-y-Berllan, Llanfair-Muallt, Pentre-Newydd, Dolau, Aberhafhesb, Capel-Scion, ac Ebenezer, yn Merthyr-Tydfil.'

[Nid oes iddo argraffeb; ond dechreu yr Anerch ar y ddalen enwol; ond ceir ar ei ddiwedd—'Trefecca: Argraphwyd yn y Flwyddyn, M,DCC,XCV.' Cynnwysa y Llythyr 8 tudalen 8plyg.]

6. 'A History of Baptist Associations in Wales, from the year 1650, to the year 1790, shewing the Times and Places of their Annual Meeting, whether in Wales, London, or Bristol, &c. Including several other interesting articles. By Joshuah Thomas, Leominster.

London, 1795.'

* Gwel rhif 22, d.f. 1793.

7. 'Llythyr oddiwrth Gymmanfa o Weinidogion, a gyfarfuant yn y Mynydd-bach, wrth Abertawe, yn sir Forganwg, Mehefin yr ail a'r trydydd, 1795, at eglwysi yr Ymneillduwyr Protestanaidd yng Nghymru, a elwir yn gyffredin Independiaid.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Ross, yn Heol-Awst, M,DCC,XCV.'

8. 'Caniadau y rhai sydd ar y Mor o Wydr, &c. Y pummed argraphiad, gyda chwanegiad o Hymnau eraill, o waith yr awdwr. Gan y diweddar Barchedig W. Williams.

Trefecca, Argraphwyd yn y flwyddyn M,LCC,XCV.'

Dyna y dull gwallus yr argraffwyd y llythyrenau rhifyddol; ac amlwg yw mai gwall ydyw, ac mai y flwyddyn ydoedd 1795.*

9. 'A Tour to Milford-Haven, in the year 1791. By Mrs. Morgan.

London, Printed for John Stockdale, in Piccadilly. M,DCC,XCV.'

10. 'Datganiad Ffydd, a gafodd ei thraethu yn gyhoeddus gerbron Gweinidogion ac eraill, gerllaw Gwernogau, yn Sir Gaerfyrddin, Medi 11. 1794. Gan T. Evans.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Ross, yn Heol-Awst. 1795.'

Cyffes Ffydd gweinidog Undodaidd cyntaf y gynnulleidfa Bresbyteraidd yn Aberdâr, sir Forganwg, ydyw.†

11. ¶ 'Llythyr Cymmanfa y Bedyddwyr, 1795.

Caerfyrddin.'‡

12. ¶ 'Ystyriaethau o Gyflwr Dyn, yn y Bywyd hwn, ac yn yr hwn sydd i ddyfod. O Waith y Gwir Barchedig Dad yn Nuw, Jeremiah Taylor, D.D. Gynt Arglwydd Esgob Down a Chonnor: Ac a gyfieithwyd i'r Cymraeg, gan G. Wynn, Offeiriad Llangadwaladr. Yr Ail Argraphiad.

Caerfyrddin, Argraphwyd ac ar werth gan Ioan Daniel, yn Heol y Farchnad Isaf. [Pris Naw Ceiniog.'] [12plyg.]§

* Gwel rhif 14, d.f. 1773.

† Gwel rhif 22 a 30, d.f. 1793.

‡ [Yr un yn ddilys â rhif 5, dan y flwyddyn hon: eithr nid yng Nghaerfyrddin, ond yn Nhrefecca, yr argraffwyd hwn. Y mae cyfargraff digoll o hono yn awr o'm blaen.]

§ Gwel rhif 2, d.f. 1724.

Y mae enw Christmas Evans* wrth 'At y Darllenydd,' fel cyhoeddydd a golygydd yr argraffiad hwn. Ymddengys mai aelod ydoedd o gynnulleidfa Bresbyteraidd Penrhiw; ac y mae yn gydiol englyn gan D. D., neu y Parch. D. Davies, Castell Hywel.

13. ¶ 'The Cambrian Register.

London. 1795.'

['The Cambrian Register, for the Year 1795,' a gyhoeddwyd yn 1796, a dyna'r dyddiad sydd ar ei ragddalen. Hon oedd y gyfrol gyntaf o'r gwaith rhagorol hwnw. Gweler rhif 14, dan y flwyddyn hòno.]

14. 'Pedestrian Tour of Wales. By Mr. Hucks. 1795.'

15. 'The History of Great Britain, &c. Vol. I. Part II. M.DCC.XCI.'†

16. 'Tair Gerdd Newydd. Trarhagorol. I. Cerdd o Galondid i'r Milwyr Gwladychaidd yr ydys yn codi yn y deyrnas hon i gadw'r Porthladdoedd, pa rai a elwir yn gyffredin Militia neu'r Train Band. II. Myfyrdod Duwiol rhwng Dyn ac ef ei hun cyn dydd ar ei wely. III. Ymddiddan rhwng hen Wr, a Llanc ieuangc oedd yn myned i garu: bob yn ail bennill.

Machynlleth, Argraphwyd gan E. Prichard. 1795.'

17. 'Grawn-sypiau Canaan. Neu Gasgliad o Hymnau Mr. William Williams, &c. A gasglwyd yn nghyd gan un sy'n caru llwyddiant fforddolion Baca.

Liverpool, Argraphwyd gan J. Gore dros Daniel Jones. 1795.'

Casglwr yr Hymnau hyn ydoedd Mr. Robert Jones, Dinas, Lleyn, gynt Rhoslan. Efe a wnaeth rai cyfnewidiadau yn yr Hymnau, yr hyn a dramgwyddodd Fethodistiaid y Deheudir yn fawr, ac yn enwedig teulu Williams Pant y Celyn. O blegid hyny ni arferwyd y casgliad hwn ond ar bulpudau y Methodistiaid yng Ngwynedd. Y cyhoeddydd ydoedd mab y casglydd, yr hwn a fu yn cyfanneddu gryn amser yn Liverpool.

18. ¶ 'A Picturesque Guide thro' Wales and the Marches. Second Edition.‡ With Additions. By Jas. Baker.

* ['Christ[s] Evan. Henfryn, Llangeler,' yw y llofnod ar ddiwedd yr anerch 'At y Darllenydd.' Nid oes un dyddiad wrth y llyfr mewn un man; na dim y gellir gwybod wrtho gyda sicrwydd pa flwyddyn yr ymddangosodd; yr ydys wedi bod yn ofalus, fel pe buasai, i ddirgelu amser ei gyhoeddiad. Y mae yn argraffiad pur dda a chywir. Daeth allan argraffiad diweddarach, o wasg Merthyr Tydfil, yn y fl. 1825, 12plyg; a gelwir hwnw hefyd yn ail argraffiad, neu, yr hyn sydd yr un peth, dywedir ei fod yn 'gyhoeddedig yr Ail Waith, gan T. Griffith, a G. Anwyl;' yr hyn sydd yn awgrymu nas gwyddai y cyhoeddwyr am argraffiad Crist. Evan o'r gwaith. Gwnaed rhai cyfnewidion yn argraffiad Merthyr; a chynnwys restr y tanysgrifwyr i'r argraffiad cyntaf.]

† Gwel rhif 37, d.f. 1794. Y mae yr wyneb-ddalen yr un oddi eithr yr amser, &c.

‡ Gwel rhif 39, d.f. 1792.

Winchester. 1795.'

Y mae hwn yn dair cyfrol 4plyg, ag ynddo lawer o olygfëydd.

19. 'The Jurisdiction and Practice of the Court of Great Sessions of Wales, with Historical Preface and Index. 1795.'

Y mae yn llawn o ddefnyddiau hanes hen gyfreithiau ac arferion Cymreig, a dull o brofi a dwyn ym mlaen achosion troseddol.

20. ¶ 'Religion in Danger, by the Curate of Snowdon. 1795.'

Dywedir mai gwaith y Dr. C. Symmons yw hwn. Yr oedd ef yn fab i John Symmons, Ysw., o Lanstinan, sir Benfro, ac a anwyd yn Aberteifi yn 1749. Cyhoeddodd amrai weithiau. Bu farw yn y Bath yn 1826, yn 80 oed.

21. ['Gleanings through Wales...By Samuel Jackson Pratt. 4 vols. 8vo.

Ail argraffiad, fel yr ymddengys ; ymddangosodd y cyntaf yn 1766.]

22. ['Index to Records, called the Originalia and Memoranda on the Lord Treasurer's Remembrancer's Side of the Exchequer: extracted from the Records, and from the Manuscripts of Mr. Tayleure, Mr. Madox, and Mr. Chapman, formerly Officers in that Office. Containing all the Grants of Abbey Lands, and other Property, granted by the Crown, from the Beginning of the Reign of Henry VIII. to the End of Queen Ann. Also, Inrollments of Charters, Grants, and Patents, to Several Religious Houses, and to Cities, Boroughs, Towns, Companies, Colleges, & other Public Institutions, from the Earliest Period. Together with Pleadings and Proceedings relative to the Tenures and Estates of the Nobility and Gentry, Commissions to Survey Manors, Lands, & Tenements, and innumerable other matters. In Two Volumes. By Edward Jones, Inner Temple.

London : Printed for the Editor . . . . 1795.' Folio.

Llofnodir y cyflwyniad—'Edward Jones. Inner-Temple, July 28, 1793.' Cynnwys gyfeiriadau at amryw leoedd yng Nghymru, ac enwa amryw Gymry. Y mae yn waith dysgedig, llafurfawr, a defnyddiol iawn. Am yr awdwr, cymharer rhif 46, d.f. 1794.]

## 1796.

1. 'Gogoneddus Ddirgelwch Trugaredd Duw; neu Werthfawr Feddyginiaeth i Eneidiau lluddedig. Wedi ei osod allan mewn Traethawd lle yr agorir dau Ddirgelwch fawr. I. Dirgelwch Rhad Ras dadguddiedig yn yr Efengyl. II. Dirgelwch yr Efengyl yn gynhwysedig yn y Gyfraith. Fe brofir hefyd ynddo, Fod y Gyfraith

Frenhinol yn Rheol Ufudd-dod Efengylaidd. Gyd ag amryw Gyfarwyddiadau i gyflawnu Dyledswyddau'r Gyfraith mewn Modd Efengylaidd. Gan John Bisco; Gweinidog yr Efengyl yn Thomas, Southwark.

Machynlleth: Argraphwyd gan Edward Prichard. M,DCC,XCVI.'*

EDWARD PRICHARD ydoedd fab i Edward Prichard, o Lechwedd Einion, ym mhlwyf Machynlleth, yn sir Drefaldwyn. Bu yn dysgu ei gelfyddyd gyda'i ragflaenydd, Titus Evans. Argraffydd gwael ydoedd. Bu farw yn ieuanc.

2. 'The History of the Parishes of Whitford and Holywell.†

Printed for B. and J. White, Fleet Street. 1796.' [4to.]

Ar y ddalen nesaf ceir—'Resurgam, THOMAS PENNANT. *Downing, April* 6th, 2 P.M. 1795.'

3. 'The History of Monmouthshire. In two Volumes. By David Williams. Illustrated and ornamented by Views of its principal Landscapes, Ruins, and Residences; by John Gardnor, vicar of Battersea. Enlarged by Mr. Gardnor and Mr. Hill. 1795.'

4. 'Y Geirgrawn: neu Drysorfa Gwybodaeth. Am y Flwyddyn 1796. Yn cynnwys Athroniaeth Naturiol, a Christ'nogol; Daearwriaeth; Wybryddiaeth; Hynafiaeth; Gwybodaeth Eglwysiaidd, a Dinasaidd; Athrawiaethau Crefyddol; Bywgraphiadau; Marwolaethau; Newyddion Tramor, a Chartrefol; Chwedlau Neullduol; Caniadau, Emynnau, ac Awdlau Buddiol. Amcanedig i ledu Gwybodaeth, Uniondeb, Cariad, a Heddwch, trwy Gymru. Gan D. Davies. Gwell Gwybodaeth nag aur. Plyg. I.

Caerlleon: Argraphwyd gan W. Minshull: Ar werth hefyd gan E. Carns, Treffynnon; W. Edwards, Croesoswallt; O. Owens, Caernarfon; J. Ross, ac J. Daniel, Caerfyrddin; a chan bawb Llyfrwerthwyr trwy Gymru; a chan G. Sael, rhif. 192, Strand, Llundain.' [8plyg: 32 tudalen y rhifyn.]

MR. DAVID DAVIES ydoedd enedigol o gymmydogaeth Pen y Graig, ger Caerfyrddin. Bu yn weinidog dros beth amser yn y Fenni, yn sir Fynwy, o'r lle y symmudodd yn 1790 i Dreffynnon,‡ lle y bu yn gweinidogaethu i gynnulleidfa o Ymneillduwyr am ddeng mlynedd.

* Ail argraffiad, mae yn debygol; gwel rhif 2, d.f. 1766.

† Y mae arlun o hen Blasdy Bychton ynddo.

‡ [Yn Nhreffynnon yr ydoedd pan y golygai y 'Geirgrawn;' canys i'r 'Parch. Dafydd Davies, Gweinidog yr Efengyl yn Nhreffynnon' y gorchymmynid i danysgrifwyr at ei gyfieithiad bwriadedig o Esboniad Luther ar y Galatiaid, anfon eu henwau. Nid ymddengys, modd bynag, i'r cyfryw gyfieithiad byth gael ei gyhoeddi.]

Caniataodd i rai erthyglau ymddangos yn y cyhoeddiad uchod oedd yn llawn o bleidiaeth i egwyddorion gwerinol y Chwyldroad Ffrengig; a bu mewn enbydrwydd oddi wrth yr awdurdodau, ac ar ffo am beth amser. Ychydig o rifynau* a gyhoeddwyd o'r 'Geirgrawn.'† Yn 1800 ymadawodd Mr. Davies, a sefydlodd yn y Trallwng.‡

5. 'Yr Egwyddor; neu Ymofyniad i Athrawiaeth yr Ysgrythyrau mewn perthynas i'r unig wir Dduw, a'r Gwrthrych o Addoliad Crefyddol. Gan Theophilus Lindsey, A.M. Wedi ei Gyfieithu i'r Gymraeg gan Thomas Evans.§

THEOPHILUS LINDSEY a anwyd yn Middlewich [yr Heledd Ganol], yn sir Gaerlleon, yn 1723. Dygwyd ef i fyny gan deulu y Fferrers, yn hytrach Huntingdon, a chafodd elfenau ei ddysg yng Ngholeg yr Arglwyddes Selina Huntingdon. Wedi cyrhaedd ei A.C. yng Nghaergrawnt, cafodd fywoliaeth eglwysig gyfoethog Catterick, yn sir Iorc; yr hon, er hyny, a roddodd i fyny yn 1773, mewn canlyniad iddo goleddu egwyddorion Sosinaidd. Yna efe a ymsefydlodd yn Llundain, lle yr agorodd gapel yn Heol Essecs, Strand, yn yr hwn y gweinyddodd hyd 1798, pan yr enciliodd o'r weinidogaeth. Bu farw yn 1768, yn 85 oed.||

6. 'Marweiddiad Pechod mewn Credinwyr: yn dangos ei Angenrheidrwydd a'r Natur o hono; ynghyd a'r Attebiad i amryw Achosion Cydwybod, ymherthynas i'r unryw. Gan y Duwiol a'r Dysgedig John Owen, D.D. At yr hyn rhagflaenir Byr Hanes o Fywyd a Marwolaeth yr Awdwr, Newydd ei gyfieithu i'r Gymraeg.

Mwythig: Argraphwyd gan B. Partridge a J. Hodges: yn y flwyddyn M,DCC.XCVI. [12plyg: 132 tudalen.]

Ymddengys fod hwn yn ail argraphiad.**

7. 'Casgliad o Salmau a Hymnau, wedi eu haddasu at Addoliad Cymdeithasol. Gan Josiah Rees.

Caerfyrddin. Argraphwyd, ac ar werth gan I. Ross. 1796.'

Cynnwysa Hymnau o waith un ar bymtheg o awdwyr. Yr oeddynt at wasanaeth Presbyteriaid neu Ariaid, a Sosiniaid y Deheudir.

* [Diau na wyddai hyrwyddwyr y greal hwn iawn ystyr yr enw a roddasant ar y cyhoeddiad. Ystyr 'Geirgrawn' yw cronfa neu gasgliad o *eiriau*, enw mwy priodol ar eiriadur nag ar gyhoeddiad cyfnodol; ac y mae yn ddilys mai *eurgrawn*, neu drysorfa *euraid*, oedd yr hwn a olygid.]

† [Gwelais 9 rhifyn, yn gwneuthur 288 tudalen, o'r cylchgrawn hwn. Nis gwn a ymddangosodd chwaneg; fy nhyb yw iddo derfynu ei yrfa gyda'r nawfed. Ymddangosodd y rhifyn cyntaf am Chwefror, 1796, a'r 9fed am Hydref, yn yr un flwyddyn. Ei bris ydoedd 4 ceiniog y rhifyn.]

‡ Morgan, *Hanes Ymneillduaeth*, t. 557.

§ Gwel rhif 22, d.f. 1793.

|| Stephen Jones's *New Biog. Dict.*

** Gwel rhif 7. d.f 1791.

8. 'Arithmetic, neu Rifyddeg. Yn gosod allan, sylfaennau ac ymarferiad Rhifyddiaeth yn eglur, mewn amryw gangheneau; a mesuriaeth yn helaeth: wrth y Lliosogiad Deuddegawl, y Degrannau, a'r Sliding Rule. Gyd a Darluniadau, ac addysgiadau cymmwys i'r unrhyw. Yr Ail Argraphiad.* Gan John Roberts.

Argraphwyd dros y Cyhoeddwr. 1796.'

Mae yn debyg mai yn Nublin y cafodd ei argraffu, lle yr arferai 'John Roberts' (= 'Sion Rhobert Lewys') argraffu ei Almanaciau.

9. 'Pymtheg o Bregethau Byrion: Neu, Sylwiad ar Bymtheg o Destunau Ysgrythurol; A fwriadwyd er mwyn y rhai nad oes ganddynt ond ychydig amser neu dueddiad i ddarllen Traethiadau a fyddo maithach. A gyfieithiwyd yn ddiweddar i'r Cymraeg, gan Thomas Jones.

Caerfyddin, Argraphwyd gan Ioan Daniel. M.DCC.XCVI.'

[Cynnwys 24 o dudalenau 12plyg. Y ddalen olaf a gynnwys 'Sylwiad Byr ar Weddi'r Arglwydd: Wedi ei gyfieithu allan o Waith y Parchedig Richard Bernard.']

10. 'Drych y Prif Oesoedd, yn Ddwy Ran, &c. Gan Theophilus Evans, gynt Ficar Llangammarch, Yngwlad Fuellt, a Dewi, yn swydd Frycheiniog.

Croesoswallt, Argraphwyd gan W. Edwards. M,DCC,XCVI.'†

11. 'Casgliad o Hymnau gan Joseph Harris.'

Joseph Harris = Gomer.

12 'Drych Ysgrythyrol, neu Gorph o Dduwinyddiaeth: yn cynnwys Eglurhad a Phrawf, o Amrywiol Ganghenau yr Athrawiaeth sydd yn ol Duwioldeb, &c. Gan George Lewis, Gweinidog yr Efengyl yn Llanuwchllyn. 1796.'

[Bala, 1796, 8plyg.]

George Lewis, D.D., a anwyd [ym mhlwyf Trelech], yn sir Gaerfyrddin, yn 1763. Cafodd ei ddysgeidiaeth yn y Coleg Presbyteraidd yng Nghaerfyrddin, o'r lle y daeth yn weinidog cynnulleidfa yng Nghaernarfon, yn 1796, pan yn 23 oed; ac wedi bod yno naw mlynedd, efe a symmudodd i Lanuwchllyn, yn sir Feirionydd, yn 1785, lle y bu 17 o flynyddoedd, sef hyd 1812, pan y dewiswyd ef yn athraw y Coleg Duwinyddol oedd y pryd hyny yng Ngwrecsam, ac wedi hyny yn Llanfyllin, a'r Dref Newydd; ond yn awr yn Aberhonddu. Bu yn y swydd hòno dros ddeng mlynedd. Heb law y

* Gwel rhif 2, d.f. 1768.

† Ymddengys fod hwn yn 4ydd argraffiad. Gwel rhif 4, d.f. 1716; rhif 4, d.f. 1740; rhif 3, d.f. 1794, a hwn yma.

'Gorph o Duwinyddiaeth' uchod, efe a gyhoeddodd Esboniad helaeth ar y Testament Newydd, yn Saith Gyfrol 8plyg. Cyhoeddodd hefyd rai pregethau, yn llyfrynau wrthynt eu hunain; megys, 'Athrawiaeth Etholedigaeth: Wedi ei gosod allan mewn Pregeth ar 1 Thess. i. 4. yn Bethania yn Sir Gaerfyrddin, Mehefin 1. 1809, Gan George Lewis. Dolgellau, Argraphwyd gan Richard Jones, 1809.'—'Y Catechism byraf. A gyflwynwyd gan y Gymmanfa o Ddifinyddion yn Westminster i'r ddau Dy o Barliament, a chwedi ei gymmeradwyo ganddynt, yn cynnwys Egwyddorion y Grefydd Gristionogol, ynghyd a Phrofiadau Ysgrythyrol. Machynlleth, Argraphwyd, dros George Lewis, gan Edward Pritchard. 1802.' Y 'Rhagymadrodd,' gan 'G. Lewis,' 'Llanuwchllyn, Tachwedd 1. 1802.'—'Cyfiawnhâd trwy Ffydd. Neu Draethawd yn gosod allan y Dull a'r Amser y mae Cyfiawnder Crist yn cael ei weithredol gyfrif i Bechadur. Gan George Lewis, Gweinidog yr Efengyl yn Llanuwch-llyn. Machynlleth, Argraphwyd gan Edward Pritchard. 1803.' Ystyrid ef yn ysgolhaig da yn yr ieithoedd Hebraeg, Groeg, a Lladin. Cafodd radd D.D. gan un o Brifysgolion America. Bu farw yn y Dref Newydd, sir Drefaldwyn, yn 1822, yn 59 oed.*

13. 'Marwnad am y Parchedig a'r Ffyddlon Was tros Dduw, Mr. Peter Williams, o'r Gelli, ger llaw Caerfyrddin, Awdwr y Sylwadau ar y Bibl mawr, a'r Mynegeir Ysgrythyrol, Y Ffordd i Foddlonrwydd, ynghyd ag amryw Draethodau adnabyddus yn yr iaith Gymraeg. A ymadawodd a'r Byd hwn yr 8fed o fis Awst, 1796, a'r 76 o'i oed. Gan Thomas Williams, o Ffon Mon, Morganwg.

Caerfyrddin: Argraffwyd gan Ioan Ross, yn Heol Awst. 1796.'

Thomas Williams oedd fab i Richard a Margaret Williams, o Dre'rhedyn, yn mhlwyf Pendeulwyn, sir Forganwg. Ymunodd â'r Trefnyddion Calfinaidd ym more ei oes. Pan oedd tua deg ar hugain oed cymmerodd ymraniad le ym mhlith y Trefnyddion hyny yn achos rhyw ddaliadau athrawiaethol a ddelid gan y Parch. Peter Williams, ar berson Crist, a chymmerodd T. Williams ac ereill blaid Peter Williams. Ymgorffolodd y blaid ymraniadol hòno yn gynnulleidfa wrthi ei hun, heb fod mewn undeb â'r Trefnyddion, nac â neb arall, yr hyn fu achlysur codiad yr addoldy a elwir Bethesda, ym Mro Morganwg, a dewiswyd ef yn weinidog iddynt, heb gydweithrediad gweinidogion unrhyw enwad. Priododd Jane, merch Mr. Morgan, o'r Bewis. Buont fyw y rhan fwyaf o'u hoes mewn fferm o'r enw Treffleming, ac yr oedd efe yn gweinidogaethu i'r gynnulleidfa uchod heb dâl na gwobr. Yr oedd yn fardd hymnau rhagorol. Cyhoeddodd lyfryn o'r enw 'Dyfroedd Bethesda,' yn ddwy ran. Yn gyntaf, Hymnau ar amryw destynau. Yn ail, Caniadau ar

* Williams's *Eminent Welshmen.* [Mab yng nghyfraith i'r Dr. Lewis ydoedd y diweddar Barch. Edward Davies, A.C., yr hwn a'i canlynodd ef yn llywyddiaeth y Coleg yn y Dref Newydd, ac wedi hyny yn Aberhonddu. Mr. Davies hefyd a orphenodd y gyfrol ddiweddaf o Esboniad y Dr. Lewis ar y Testament Newydd. Bu farw Mr. Davies yn 1867.]

amryw ystyriaethau, 1824 a 1842. Yr oedd hwn yn cynnwys 'Llais y Ddurtur yn y Wlad,' a gyhoeddwyd yn 1812.*

14. 'The Cambrian Register, for the Year 1795.

London: Printed for E. and T. Williams, Strand. 1796.'† [8vo.]

15. 'Y Bibl Cyssegr-lan, sef yr Hen Destament a'r Newydd; gyda Nodau Cyfeiriol ar Ymyl y Dail, yn dangos Mai 'r Ysgrythur yw y Dehonglydd goreu o'r Ysgrythur. Gan John Canne.

Caerfyrddin, Argraphwyd, (ac ar werth yno) gan Ioan Daniel. M,DCC,XCVI.'

Argraphwyd y Testament Newydd hefyd, wrtho ei hun, gyda rhagddalen fel hyn—

'Testament Newydd ein Harglwydd Iesu Grist. Yr Ysgrythyrau Cyfeiriol ar Ymyl y Dail, Gan y Parchedig John Canne, A'r Sylwadau ar odrau y Dail, Gan y Parchedig William Romaine.

Caerfyrddin, Argraphwyd, ac ar werth yno, gan Ioan Daniel. M,DCC,XCVI.' Hefyd,

'Llyfr y Salmau, wedi eu Cyfieithu, a'u Gyfansoddi ar Fesur Gerdd yn Gymraeg, gan Edmund Prys, Arch-Diacon Meirionydd.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Daniel. M,DCC,XCVI.'

Y mae Rhagymadrodd o flaen yr Hen Destament, gan Mr. Canne; ac i Salmau Prys; 'Gweddi dros holl Ystad Eglwys Crist;' a llinellau Barddonol ar 'Ragoriaeth y Bibl.'

16. 'Llythyr y Gymmanfa, at yr Eglwysi, yn y Flwyddyn 1796. Yn cynnwys Annogaeth i Ymddygiad Onest a chyfiawn tuag at bawb.

Trefecca: Argraphwyd yn y flwyddyn, M,DCC,XCVI.'

17. 'Marwnad er Coffadwriaeth am yr enwog Mr. Griffith Morgans, o'r Glynhir, ymhlwyf Llandeilo-Tal-y-bont, yn sir Forganwg; yr hwn a ymadawodd âr byd hwn, Rhagfyr 18fed, 1795. Gan H. Bevan.

Caerfyrddin: Argraphwyd gan J. Daniel, 1796.'

18. 'Marwnad; neu Goffadwriaeth o Farwolaeth y Parchedig Mr. Peter Williams, gweinidog yr efengyl. Yr hwn a aeth i'w Orphwysfa, Awst 8fed, 1796, yn y 76 o'i oed; wedi bod yn y Weinidogaeth 53 o flynyddoedd. Gan y Parch. Ioan Tomas, gweinidog yr efengyl.

Caerfyrddin: Argraphwyd gan I. Ross, yn Heol Awst, M,DCC,XCVI.'

* *Yr Adolygydd*, cyf. iii. t. 335–350.

† Cyhoeddwyd y drydedd gyfrol yn 1818, a dyna yr oll.

19. 'The Trial of the Case of the King versus the Bishop of Bangor, Hugh Owen, D.D. John Roberts, John Williams, Clerks, and Thomas Jones, Gentleman. At the Assizes holden at Shrewsbury, in the 26th of July 1796, Before the Honourable Mr. Justice Heath, By a Special Jury. Taken in Short Hand by Mr. Gurney.

London, Printed for John Stockdale. 1796. Price 2/6.'

20. 'Marwnad y Parch. Peter Williams, o'r Gelli, gerllaw Caerfyrddin, yr hwn a fu farw Awst 8fed. 1796, yn 76 oed. Gan y diweddar Barch. Thomas Williams, Bethesda, Bro Morganwg.

Argraphwyd gan John Ross, Caerfyrddin. 1796.'*

21. 'Llythyr oddiwrth Gymmanfa o Weinidogion, a gyfarfuant yn y Castell-newydd-ar-wysg, yn Swydd Fynwy, Mai 25, 1796. At Eglwysi yr Ymneillduwyr Protestanaidd, yng Nghymru, a elwir yn gyffredin, Independiaid.

Trefecca: Argraphwyd yn y flwyddyn M,DCC,XCVI.'

22. ¶ 'Attempt to Describe Hafod, and the Neighbouring Scenes about the Devil's Bridge. 1796.'

23. 'Pharmacopoeia or Medical Admonitions in English and Welsh, Containing a Select Body of Useful and Elegant Medicines, for several disorders incident to the human Body. By N. Williams. The Second Part.

Trevecka: Printed in the Year, M,DCC,XCVI. (Price One Shilling.)'

24. 'Defence of the Lord Bishop of Bangor (Dr. Warren) on occasion of the remarkable persecution instituted by Grindley, 1796.'

25. ¶ 'North Wales Traveller's Companion from Holyhead to London. 1796.'

26. 'Marwnad ar Farwolaeth Mr. Griffith Morgans, o'r Clunhir, ym mhlwyf Llandilo-Fach, yn Sir Forganwg; yr hwn a ymadawodd a'r Byd y 18fed o Ragfyr, yn y Flwyddyn 1795, ac yn yr 51 o'i oed.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Daniel, yn Heol y Farchnad Isaf. M,DCC,XCVI.'

Ar ei diwedd y mae 'Sion Dafydd a'i Cânt.'

* *Diwygiwr*, 1947, t. 26, &c. Gwel hefyd rhif 13 uchod. [Y mae lle cadarn i dybied mai yr un yw y rhif hwn â rhif 13. Pa ham y dywedir, 'Gan y *diweddar* Barch. T. W.'? Canys ydoedd efe yn fyw y pryd hwn, ac am flynyddoedd lawer ar ol hyn.]

27. 'Great Effects from Feeble Means. A Sermon preached before the Missionary Society by the Rev. David Jones, of Langan.

London: Published by T. Chapman, Fleet Street.'

Rhoddwyd allan hefyd argraffiad Cymraeg o'r Bregeth uchod, gyda'r wyneb-ddalen canlynol:—'Pregeth Genhadol a Bregethwyd yng Nhapel Seion, Llundain, yn Mai 1796, gan y diweddar Barch D. Jones, Llanganna. Cyfieithedig, ac Argraffedig, gan E. Griffiths, Abertawy.'

28. 'Llangollen Vale, with other Poems. By Anna Seward, 1796.'

Y mae ar y rhagddalen olygiad ar Ddyfryn Llangollen.

29 ¶ 'An Act relating to the Sale of certain Waste Lands in Globwlch and Bachau, near Llanfyllin in Montgomeryshire. 1796.'

30. ['A Welsh Freeholder's Farewell Epistle to Samuel Lord Bishop of St. David's.' 8vo.]*

31. ['Montgomery, or Scenes in Wales. 1796.' 2 vols. 12mo.]

32. ['Gleanings through Wales, Holland, and Westphalia; with Views of Peace and War at home and abroad. Second Edition, revised. To which is added, Humanity; or the Rights of Nature. A Poem. Third Edition, corrected. By Mr. Pratt.

London: Printed for T. Longman, Paternoster Row. 1796.' 2 vols. 8vo.]

## 1797.

1. 'Dychymmygion Dynol ynghylch Ffydd. Allan o waith J. Bunyan; J. Wesley; W. a P. Williams; Ebenezer a Ralph Erskine; Obed. Grew; D. Rowlands; a Mac Lean, &c. Gan John Popkin.

Argraffwyd yn Nghaerfyrddin, gan Ioan Ross, 1797. Pris wyth Ceiniog.'

2. 'Crefydd Gymdeithasol wedi eu darlunio mewn Hanes a sefydliad cyntaf Crist'nogaeth yn ninas Caerludd (sef Llundain), mewn Ymddiddanion. A gyfieithwyd allan o waith y Parch. Matthias Morris, gan B. Evans.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Evans, yn Heol-y-Prior. 1797.'

Dyma y lle cyntaf y ceir enw JOHN EVANS fel argraffydd yng Nghaerfyrddin. Bu yn argraffydd *Seren Gomer*, wedi marwolaeth y Parch. Joseph Harris. Bu 10 mlynedd yn ddiacon, a 12 mlynedd

* Gwel rhif 35, dan 1791.

yn henuriad yn yr eglwys gynnulleidfaol yn Heol Awst, Caerfyrddin. Bu farw Mai 25, 1830, yn 58 oed.

3. 'Hymnau Newyddion: ynghyd ag Ychydig Benhillion ar yr Amserau; a Rhai Gwersi, o Erfyniad am Ddiogelwch i Frydain, &c.

Caerlleon: Argraphwyd gan W. C. Jones a T. Crane. 1797.'

4. 'Toriad y Dydd; neu Sylw byr ar Hen Gyfreithiau ac Arferion Llywodraethol; ynghyd a chrybwylliad am Freintiau dyn. Wedi ei ysgrifenu er mwyn y Cymry unwaith. Gan J. Jones, Glan y Gors, Awdwr y Llyfr a elwir 'Seren tan Gwmwl.'*

Llundain: Argraphwyd ac ar werth gan yr Awdwr, a chan W. Baynes, rhif 54, Paternoster Row. 1797. Gwerth Chwecheiniog.'

Egwyddorion 'Paine's Rights of Man' a bleidir yn y llyfr hwn.

5. 'Carol ar Concwest Gwyr y Gogledd. Gan E. Jones.

Caernarfon, Argraphwyd gan T. Roberts. 1797.'

Yr Awdwr ydoedd Bardd enwog Maes y Plwm. Y Carol yw yr un sydd yn dechreu—

'Clywch lais ac uchel lef
Tôn telynorion Nef,
I'r baban byw,
Oen Duw, pan aned ef.'

Yr oedd hefyd yn gyssylltedig â'r llyfr hymnau a arferid gynt ar bulpudau y Methodistiaid Calfinaidd yn y Gogledd, sef y 'Grawnsypiau Canaan,'' gan R. Jones.—Yr argraffydd,

Thomas Roberts a anwyd yn 1760, naill ai yn Llanrhos ai yn Eglwys Fach, yn sir Ddinbych.† Ymfudodd ei rieni, pan oedd efe yn ieuanc, i Drefecca, gyda'r lluoedd a ymgasglent yno at Howel Harris. Lygwyd ef i fyny yn argraffydd yn Nhrefecca. Ymddengys ei fod yn 36 oed pan ddaeth i Gaernarfon; a chan iddo dreulio ei oes er yn ieuanc hyd yn hyn yn y Deheudir, yr oedd acen ddeheuol ar ei siarad yn lled gref, yr hyn a barai i bobl ei ystyried yn Ddeheuwr. Priododd wraig weddw yng Nghaernarfon, o berchen peth cyfoeth. Yr oedd yntau yn berchen eiddo; efe ydoedd perchenog Bryn Eisteddfod, ym mhlwyf Llansantffraid Glyn Conwy, yr hwn le a fu yng ngafael y Canghellys, o blegid rhyw reswm neu gilydd, hyd tua'r fl. 1860, pan y gwerthwyd ef yn gyhoeddus. Hysbysai y papyrleni mai eiddo y diweddar Thos. Roberts, o Gaernarfon, argraffydd, oedd y tir a werthid. Daeth i Gaernarfon rywbryd cyn y flwyddyn 1797. Dywedir mai efe ydoedd un o'r personau a adeiladasant dai y *Pendist* yno, yn 1800. Sefydlodd ei argraffwasg gyntaf—mae yn debyg i aros i'r tai newyddion ddyfod yn barod—yn yr Heol Fawr, neu yn hytrach, yr heol sydd yn troi allan

* Gwel rhif 11, d.f. 1799.

† Tybir mai mab ydoedd i Wm. Roberts, o'r Plas Bach, ger Conwy; yn nhy yr hwn y cafodd John Wesley ei groesawu unwaith.

o honi. Yr oedd y pryd hyny yn y pen draw i'r heol hòno, oruwch-ystafell, i'r hon yr esgynid ar hyd grisiau oddi allan, ac yno y bu y wasg gyntaf yng Nghaernarfon. Gwasg bren ydoedd (fel yr arferid y pryd), hyny o gyfansoddiad da, ac yn gweithio yn hwylus. Yr oedd ar gael hyd tua'r flwyddyn 1858, pan y darfu i fab y diweddar Peter Evans, wrth werthu pethau ei dad, ei thori i fyny yn goed tân. Daethai i feddiant P. Evans, trwy mai efe a brynodd, ym mhen amser, y rhan fwyaf o bethau T. Roberts; ac â'r wasg hòno y bu efe yn argraffu am flynyddoedd lawer ar ol ymsefydlu yng Nghaernarfon. Sefydlodd T. Roberts yn y Pendist mor fuan ag yr adeiladwyd y tai, ac yno y bu fyw. Cyhoeddodd gryn lawer o lyfrau mân. Yr oedd yn argraffydd medrus, gofalus, a chywir. Ymddengys mai eglwyswr ydoedd o ran ei grefydd; o leiaf byddai yn cyrchu yn lled gysson i Eglwys Llanbeblig, ar foreuau Sabbothau, gan gludo gydag ef Lyfr Gweddi Gyffredin, o faintioli bychan, yn yr iaith Ffrancaeg, yn yr hwn yr arferai ddilyn y gwasanaeth. Yr oedd yn Gymreigydd da, ac yn Seisnigwr medrus; a pheth anghyffredin iawn yn yr oes hòno y medrai Ffrancaeg hefyd. Bu farw Ebrill 30, yn y fl. 1811, yn 51 oed. Claddwyd ef ym mynwent Llanbeblig, lle y mae maen cof ar ei fedd. Cadwyd ei argraffdy gan ei weddw am beth amser ar ei ol. Yr ydys yn cael amryw lyfrynau yn dwyn ei henw hi—'M. Roberts, Argraffydd, Caernarfon'—yn y blynyddau dyfodol. Yn y fl. 1816, yr oedd nai iddo yn gyfranog â hi; a cheir yr argraffeb—'Caernafon: Argraphwyd gan Roberts a Williams,' wrth Farwnad y 'meddyg esgyrn hynod hwnw, Evan Thomas o Faes y Meddwyn Crych.' Bu Williams ei hun wedi hyny am ryw ychydig yn cadw y gwaith, pryd y daeth Lewis Evan Jones i mewn; a dilynwyd yntau gan Peter Evans, yn 1816. Bu yr olaf farw yn 1859.*

6. ¶ 'Sir John Froissart's Chronicles of England, France, Spain, and the adjoining Countries, from the latter part of the reign of Edward II. to the coronation of Henry IV. Newly translated from the French editions, with variation and additions, from many celebrated MSS. By Thomas Johnes, M.P.

Havod: Printed at his Private Press.'

Yr oedd y gwaith uchod yn ddeg neu ddeuddeg o gyfrolau. Yr oedd y llywodraeth yn gofyn un llyfr ar ddeg, i roddi yn y llyfrfaoedd cyhoeddus; a chyfrifid y rhai hyny yn werth, neu yn golled i'r cyhoeddwr, o 1,100*p.*,† yr hyn a ystyrid yn dreth drom iawn ar ychydig o lyfrau a gyhoeddid fel anturiaeth bersonol, heb fod yn cael eu cyhoeddi er mwyn masnach, fel ag yr oedd Johnes yn gwneyd.

7. ¶ 'Memoir of John, Lord de Joinville, Grand Seneschal of Champagne, written by himself, containing a History of part of the

* *Llythyr* Mr. Hugh Humphreys, Caernarfon.

† [Ymddengys fod yma gamsyniad dybryd wedi tarddu o rywle. Pedair cyfrol 4plyg ydoedd y gwaith hwn.]

the Life o Louis IX. King of France, surnamed St. Louis, including an Account of that King's Expedition to Egypt, in the year 1248. Translated by Thomas Johnes, M.P.

Havod: Printed at his Private Press.'

Yr oedd y gwaith uchod yn ddwy gyfrol unplyg.

8. ¶ 'The Travels of Bertrandon de la Brocquere, Councillor and first Esquire Carver to Philippe Le Bon, Duke of Burgundy, to Palestine; and his return from Jerusalem overland to France, during the years 1432 and 1433. From a Manuscript in the National Library of Paris. Translated by Thomas Johnes, Esq., M.P.

Havod: Printed at his Private Press.'

THOMAS JOHNES, Ysw., ydoedd yn deilliaw o hen deulu yn Llanfair Clydogau, ger Llanbedr, yn sir Aberteifi, ac a anwyd yno (ereill a ddywedant yn Llwydlo) yn 1748. Cafodd ei ddysg yn Eton a Rhydychain, lle y cyrhaeddodd ei A.C. Pan y daeth i feddiant o'r Hafod (=Hafod Uchtryd), yn sir Aberteifi, efe a'i cafodd yn dir gwyllt a diffrwyth; ond efe a ymroddodd i'w ddiwyllio, ac a'i gwnaeth yn baradwys yng nghanol diffaethwch gwag erchyll. Adeiladodd blas gwych, a chynnullodd lyfrfa o werth mawr, yr hyn oll a ddifawyd gan dân ar y 13ydd o Fawrth, 1807; ac yr oedd y golled yn cael ei chyfrif yn 70,000*p*. Er hyny, efe a'i hail adeiladodd. Yr oedd Mr. Johnes yn llenor, ac yr oedd ganddo argraffwasg yn ei dŷ yno. Yn 1774, efe a etholwyd yn aelod seneddol dros fwrdeisdrefi sir Aberteifi; ac yn 1780 dros sir Faesyfed; ac yn 1796 a 1802, dros sir Aberteifi.* Bu farw Ebrill 23, 1816, yn 68 oed.†

9. 'Cyfaill y Cymry, sef Englynion, Cywyddau, â Chaniadau Newyddion; ar amryw Destynau, a Mesyrau, y rhan gyntaf. Gan Iolo ap Iorwerth Gwilym, o Ben y Lan, gerllaw'r Bontfaen, ym Morganwg.

Argraphwyd dros yr Awdwr. 1797.'

[Wrth 'Iolo ap Iorwerth Gwilym' y golygir Edward Williams, neu Iolo Fardd Glas, yr hwn a fu farw ychydig flynyddoedd yn ol. Os cywir yr amseriad yma, rhaid fod hwn yn adargraffiad; canys ymddangosodd y gwaith y tro cyntaf yn 1791. Gweler rhif 38, dan y flwyddyn hòno. Gwelais hwnw, ond ni welais hwn.]

10. 'Llythyr y Gymmanfa, at yr Eglwysi, yn y Flwyddyn 1797.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Evans.'

11. 'Cyfaill i'r Cystuddiedig; neu Gyfarwyddyd i deuluoedd a phersonau mewn cystudd: ynghyd a Chynghorion a Chyfarwydd-

* Hughes's *History of the Parliamentary Representation of the County of Cardigan.*

† Maunder's *Biographical Treasury;* Williams's *Eminent Welshmen.*

iadau i ddynion mewn, ac ar ol y cystuddiau, neu ryw brofedigaethau eraill. Hefyd casgliadau o Eiriau a Phrofiadau diweddaf amryw o'r Merthyron, Gweinidogion, a'r Seintiau mwyaf enwog. Gan y Parch. John Willison. A gyfieithwyd i'r Gymraeg gan y Parch. W. Thomas, Gweinidog yr Efengyl, yn y Bala.

Trefecca: Argraphwyd, yn y flwyddyn M,DCC,XCVII. (Pris Swllt.)'

12. 'Llythyr oddiwrth Gymmanfa o Weinidogion, a gyfarfuant yng Nghastell-newydd, yn sir Forganwg, Mehefin y 13 a'r 14, 1797, at Eglwysi yr Ymneillduwyr Protestanaidd yng Nghymru, a elwir yn gyffredin Independiaid.

Abertawe: Argraphwyd gan Voss a Morris, yn Heol-y-Castell. 1797.'

13. 'Gorfoledd ym Mhebyll Seion, neu Hymnau Efengylaidd, wedi eu cymeryd allan o'r Ysgrythyr Sanctaidd. At ba rai y chwanegwyd Hymnau eraill Dafydd Williams. Wedi eu hamcanu i'r dyben o ddiddanu'r gwan feddwl ar ei daith tu a'r Jerusalem Newydd, gwir Noddfa'r gwaredigion.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan I. Daniel. 1797.'*

14. 'Marwnad neu Goffadwriaeth y Parch. D. Powell, Gweinidog yn y Nottage a'r Wig, yn sir Forganwg, gan y Parch. J. Richards.

Caerfyrddin, J. Evans, 1797.'

Y eglwysi uchod oeddynt gynnulleidfaoedd o Fedyddwyr a gofleidiasent Ariaeth, ac yn awr a goleddant Sosiniaeth; er eu bod yn galw eu hunain yn Fedyddwyr Arminaidd.

JOHN RICHARDS ydoedd o Flaen Gwyddon, ger Castell Newydd yn Emlyn, ac yn perthynu i gynnulleidfa y Bedyddwyr yno. Efe a ymneillduodd oddi wrthynt, gan ymffurfio, gydag ereill, yn gangen o Fedyddwyr Arminaidd; ond ail ymunodd â'r Neillduolion flwyddyn cyn marw, yr hyn a gymmerodd le yn 1808.†

15. 'Journal of a Tour through North Wales and Shropshire; with Observations in Mineralogy, and other Branches of Natural History. By Arthur Aikin.'

London, 1797, 8vo.

[ARTHUR AIKIN ydoedd fab hynaf John Aikin, D.M., yr hwn yntau oedd fab i'r Parch. John Aikin, D.D. Cyhoeddodd Arthur Aikin amryw weithiau yn dal cyssylltiad yn benaf â gwyddoriaeth; a bu amryw flynyddau yn ysgrifenu i Gymdeithas y Celfyddydau. Bu farw yn Llundain yn 1854.]

* Gwel rhif 10, d.f. 1782.

† *Hanes y Bedyddwyr*, gan Thomas a Jones.

16. 'Letters, describing a Tour through a Part of South Wales. By a Pedestrian Traveller. With Views, Described and Etched by the Author.

London, Printed by T. Baylis, Greville Street. 1797.'

17. 'Golygiadau ar Achosion ac Effeithiau'r Cyfnewidiad yn Ffrainc. Weigh others woe's and learn to bear thy own. Ovid.

Pwysa gystuddiau eraill,
Ai maith ofidiau blin,
A dysga ddwyn yn ddiddig,
Y rhan su i ti dy hun.

Machynlleth, Argraphwyd gan E. Pritchard. Lle gellir cael Argraphu pob math o Lyfrau Cymraeg a Saesonag yn y modd hardda ac am bris isaf.'

Rhagymadrodd gan 'John Owen, Machynlleth Mai 30, 1797.'

18. 'Marwnad y Parchedig Mr. D. Rowlands, Yr hwn a ymadawodd â'r Byd Hydref 16. 1790, yn 77 Mlwydd o'i Oed, ac a gladdwyd yn Llangeitho. Gan Philip Dafydd.

Caerfyrddin: Argraphwyd gan I. Evans, yn Heol-y-Prior. 1797.'

19. 'Casgliad o Salmau a Hymnau. Gan Josiah Rees.

Caerfyrddin; Argraffwyd gan Ioan Ross. 1797.' [12plyg.]

Yr oedd hwn yn ail argraffiad.* Yr oedd i'r argraffiad hwn ail ragddalen, fel hyn:—

'Casgliad o Salmau Cân, allan o Waith Isaac Watts, ac Amryw Eraill: wedi eu haddasu at Addoliad Cymdeithasol. Gan Josiah Rees.

Carmarthen: Printed by John Ross. 1797.'

20. 'A Descriptive Account of the Devil's Bridge, Hafod, Strata Florida Abbey, and other Scenery in that District of Cardiganshire. In an Excursion from Aberystwith; Comprehending the objects adjoining the River. The Second Edition.

Hereford, Printed by D. Walker. 1797.'

21. ¶ 'Egwyddorion o'r Grefydd Gristionogol.—Catecism byraf y Gymmanfa.

Caerfyrddin.'†

22. 'Siampl o Eglur Gateceisio. Mewn ffordd o Eglurhad ar Gatecism; Yn Holiadau ac yn attebion. Er cyfarwyddo'r Ieuaingc

* Gwel rhif 7, d.f. 1796.

† Yn ol *Ysgrif* Mr. B. Davies.

a'r Anwybodus ac eraill yn y Wybodaeth o Egwyddorion, Sylfeini, ac hefyd Dyledswyddau y Grefydd Gristianogol, mewn modd tra chynnwysfawr; Ynghyd a Rhagymadrodd, yn Eglurhau yn fyr, Gwirionedd y Grefydd Gristianogol, ac hefyd Afresymoldeb y gwrthwyneb i hyn, megis Atheistiaeth, Deistiaeth, &c. Yn Saesonaeg, gan y gwas enwog hwnw o eiddo Crist, Mr. John Willison, diweddar Gweinidog yr Efengil yn Dundee, yn Scotland. Wedi ei droi i'r Cymraeg, gan D. Davies.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan Ioan Evans, yn Heol-y-Prior. 1797.'

Y mae hwn yn lyfr o 330 o dudalenau 12plyg. Y cyfieithydd,

David Davies, ydoedd fab i'r Parch. Owen Davies, gweinidog yr Annibynwyr yn Nhrelech, yn sir Gaerfyrddin. Yr oedd y mab hwn hefyd yn bregethwr gyda'r un bobl; ond nid ordeiniwyd ef, ac ni bu erioed yn gofalu am gynnulleidfa, eithr yn cyflenwi lle gweinidogion wrth achlysur. Yr oedd yn ddyn dysgedig a choethedig, ac yn cadw ysgol yn y gymmydogaeth. Bu farw ym Medi, 1825, yn 61 oed.

23 ¶ 'Annerch i'r Cymry ar diriad y Ffrancod. Gan Nath. Jenkins.'*

Nathaniel Jenkins ydoedd fab i Jenkin Thomas, o'r Cwm Du, ger Castell Newydd yn Emlyn.† Yr oedd yn awdwr llawer o ganiadau difyrus.

24. ¶ 'Gwaedd yng Nghymru yn erbyn cyngor Ahitophel. Gan T. Jenkins, Llanboidy.

Caerfyrddin.'‡

25. ¶ 'Narrative of the French Invasion near Fisguard. By J. Baker.

Worcester.'‡

26. 'Gorfoledd ym Mhebyll Seion, &c. Trydydd Argraffiad.

Caerfyrddin.'§

27. 'Y Bibl Sanctaidd, Sef yr Hen Destament a'r Newydd. Gyda Sylwadau Peter Williams. Y Pedwerydd Argraphiad.

* Yn ol *Ysgrif* Mr. B. Davies. [Y mae y gân hon yn adargraffedig ym 'Mlodau Dyfed,' t. 281.]

† Gwel rhif 3, d.f. 1736.

‡ Yn ol *Ysgrif* Mr. B. Davies.

§ Yn ol *Ysgrif* Mr. B. Davies. Gwel rhif 10, d.f. 1782; rhif 13, d.f. 1795.

Caerfyrddin.'*

28. 'The Welch Indians; or, A Collection of Papers, Respecting a People whose Ancestors emigrated from Wales, in the Year 1170, with Prince Madoc (Three hundred years before the first Voyage of Columbus). And who are said now to inhabit a beautiful country on the West Side of the Mississippi. Dedicated to the Missionary Society by George Burder.

London: Printed for T. Chapman, No. 151. Fleet Street. Price One Shilling.'

Yn niwedd y cyflwyniad, yr hwn sydd yn llenwi dau dudalen, y mae y canlynol:—'Coventry, March 10. 1797.' Y mae y llyfryn yn 35 tudalen 8plyg.†

[Y Parch. GEORGE BURDER, gweinidog ymneillduol cyfrifol yn ei ddydd, a anwyd yn Llundain ar y 5med o Fehefin, 1752, C.H., ac a fu farw yno Mawrth 29, 1832. Cyhoeddodd amryw lyfrau; bu yn olygydd yr 'Evangelical Magazine;' ac yn ysgrifenydd i Gymdeithas Genadol Llundain.]

29. 'A very curious Private Paper relative to Will and Property of Mary Bulkley, late of Dronwy, in the Parish of Llanfachreth, Isle of Anglesea, (1730-94) the property disputed by Jos. Williams and Herbert Jones, of Llynon. 1797.'

Daeth y papyrau hyn ger bron Uchel Lys y Dirprwywyr, ac y maent yn wir gopïau o'r hyn a ddefnyddiwyd er cadarnhau y ddedfryd arnynt. Argraffwyd hwy yn gyfrinachol.‡

30. 'Hen Gân, na bu Argraphedig erioed o'r blaen: Yr hon a gafwyd o Enau Hen Wraig, a ddysgodd hi gan ei Mham a fuasai gynt yn Gwasanaethu gyd a'r hen Ficcer Llanymddyfri: Ar Greadigaeth y Gyd, yng nghyd a Naturiaeth Creadigaeth Dyn.

Caerfyrddin: Argraphwyd gan I. Evans, yn Heol-y-prior. 1797.'

31. ¶ 'Tair o Gerddi. Y cyntaf Clod i'r Cymry gwyr Sir Benfro am gymeryd y Rheibus Elynion Cythreulig ysglyfyddwyr mileinig sef Ffrancod pan diriasant yn Abergwaen. Yn ail diolch i Dduw am y rhydd-did a gafodd Lloegr i ymladd a'r Spaniards a'u gorthrechu a chymeryd eu Llongau ar y mor, gan y Llywydd Arglwydd Jervis. Yn drydydd Hymn.

Machynlleth, Argraphwyd E. P.'

* Yn ol *Ysgrif* Mr. B. Davies; gwel rhif 1, d.f. 1770; rhif 5, d.f. 1781; rhif 3, d.f. 1788; a hwn yma.

† *Llythyr* y Parch. T. James *(Llallawg)*.

‡ Hotten's *Catalogue*.

32. ¶ 'Copi o Lythyr yr hwn a gafwyd dan garreg, ym mha un y mae amrhyw Gynghorion, da a buddiol; Eithr yn fwya enwedigol ynghylch cadw y Sabbath.

Machynlleth, Argraphwyd gan E. Pritchard.'

33. ¶ 'Collections of Welsh Tours, or a Display of the Beauties of Wales, Popular Tours, &c. 1797.'

34. ¶ 'Gleanings through Wales, Holland, and Westphalia. By Mr. Pratt. In Two Volumes. 1797.'

Y mae y rhai hyn yn gyfrolau difyrus, yn rhoi lluaws o hanesion y Tylwyth Teg, *Robin Goodfellow*, Ganwyllau Gyrff, y Teulu, &c.

35. ¶ 'Yr Arfaeth Fawr Dragwyddol. Gan John Wesley.

Caerfyrddin, Argraffwyd. 1797.'

36. ['Picturesque Views of the River Wye from its Source at Plinlimon Hill to its Junction with the Severn below Chepstow, with Observations on the Public Buildings and other Works of Arts in its vicinity.' By Samuel Ireland.'

London, 1797, folio.]

## 1798.

1. 'Llythyr at Mr. T. Jones, o'r Wyddgrug; yn cynnwys Hanes fer o Fordaith lwyddiannus y Llong Duff, yr hon a anfonwyd i drosglwyddo deg ar hugain o Cenhadau *(Missionaries)* i bregethu'r Efengyl i drigolion paganaidd Ynysoedd y Mor Deheuol; Y'nghyd ag ychydig Annogaethau i gynnorthwyo'r gorchwyl pwysfawr a chanmoladwy. Can y Parch. T. Charles, A.B.

Caerlleon: Argraphwyd gan W. C. Jones, y'monwent St. Pedr. 1798.'

Ymddengys mai Sais oedd yr argraffydd uchod. Dechreuasai ddwyn ei gelfyddyd ym mlaen yn Nhreffynnon, fel cydymaith i T. Carnes;* ond torwyd y gyfranogaeth: arosodd Carnes yn Nhreffynnon, ac ymsefydlodd Jones yng Nghaerlleon, a chymmerodd Cymro deallus gydag ef yn ddarllenydd a golygydd, sef y Parch. John Humphreys, o Caerwys, yr hwn oedd yn perthynu i'r Cyfundeb Methodistaidd Calfinaidd, a'r hwn a symmudasai y flwyddyn hon i Caerlleon i'r dyben hyny; a dyna y rheswm pa ham yr ydys yn cael fod llyfrau Methodistaidd y blynyddau hyn, wedi eu hargraffu yng Nghaerlleon, a chan W. C. Jones.

2. 'Diwygiad neu Ddinystr: wedi ei dynnu allan o Lyfr Saesnaeg a elwir Reform or Ruin; a'i gymhwyso at Ddealldwriaeth

* Gwel rhif 3, d.f. 1797.

y Cymry; ym mha un y geill pob dyn ddysgu fel y mae pethau yn sefyll yn bresennol; a pha fath ar ddiwygiad ydyw, pa un yn unig a ddichon achub y Deyrnas.

Croesoswallt: Argraphwyd gan W. Edwards. 1798.' [8plyg bychan: 32 tudalen.]

[Y cyfieithydd ydoedd Gwallter Mechain: ond nid yw ei enw wrth y gwaith.]

3. 'Geiriadur Seisonaeg a Chymraeg. By Wm. Richards, M.A.

Carmarthen, Printed by J. Daniel. 1798.'

[Yr argraffiad cyntaf o Eiriadur y Dr. William Richards, o Lynn, Norffolc, ydyw y gwaith dan sylw. Cymharer rhif 26 isod.]

4. 'Y Seren Foreu; neu Ganwyll y Cymry: sef, Gwaith y Parchedig Mr. Rees Prichard, M.A. gynt Ficer Llanymddyfri.

Caerfyrddin, Argraphwyd, ac ar werth gan I. Evans, yn Heol-y-Prior. 1798. [Pris 2s. 6ch. i'r Rhagdalwyr, a 3s. 6ch. i eraill.]'

Yr oedd hwn yn unfed argraffiad ar bymtheg, er na restrwyd eto ond deuddeg, heb law y pigion, y rhai a argraffwyd ddwywaith, a'r argraffiad Seisonaeg.*

5. 'Y Dydd yn Gwawrio, neu Hanes Dechreuad, Cynnydd, a Lledaeniad y Gyfeillach Fawr, yn Llundain, a ffurfiwyd yn y Flwyddyn 1795. Wedi ei chasglu gan M. Jones, Trelech.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan I. Evans, yn Heol-y-Prior, 1798. [Pris Pedair ceiniog.]'

6. 'Cwyn yn erbyn Gorthrymder, yn ngyd a Sylwiadau ar hawl Esgobion, a'u Gweinidogion i Ddegymau, &c. Wedi ei ysgrifenu er mwyn Gwerinos Cymru gan Thomas Roberts, o Lwynrhudol.

Llundain: Argraphwyd, ac ar werth gan J. Jones, Chapel Street, Soho.' 50 tudalen 12plyg.†

Cyfansoddodd yr un awdwr hefyd y 'Welsh Interpreter; ac yr oedd yn aelod o Gymdeithas y Cymreigyddion. Amserir y rhagymadrodd, 'Llundain, yr 30en, o'r 4edd Mis 1798.'

John Jones, yr argraffydd, ydoedd frodor o Glocaenog, ger Rhuthyn, yn sir Ddinbych.

7. 'Cnewyllyn mewn Gwisg; sef Cnewyllyn Gwirionedd—Mewn gwisg o Gynghanedd, neu gasgliad o Garolau a Cherddi, a rhai

* Gwel rhif 1, d.f. 1646; rhif 2, d.f. 1670; rhif 6, d.f. 1672; rhif 1, d.f. 1681; rhif 4, d.f. 1721; rhif 3, d.f. 1725; rhif 14, d.f. 1740; rhif 19, d.f. 1766; rhif 16, d.f. 1770; rhif 14, d.f. 1771; a hwn yma. Cyhoeddwyd hefyd argraffiad tlws gan I. Daniel, Caerfyrddin, yn 1807-8.

† [Nid oes wrtho un amseriad; ond ymddengys wrth ddiwedd ar y Rhagymadrodd, mai yn y flwyddyn hon y daeth allan.]

Cywyddau ac Englynion, ar amryw destynau: Pa rai na buont argraphedig o'r blaen. Gan Robert Davies, o Nantglyn.

Treffynnon: Argraphwyd gan E. Carnes; dros yr Awdwr. [Gwerth Swllt.]'

ROBERT DAVIES a anwyd yn y fl. 1769. Yn 1800 efe a symmudodd i Lundain, lle y daeth yn adnabyddus â chefnogwyr Cymreigyddiaeth, trwy ymuno â Chymdeithas y Gwyneddigion, a llanwai weithiau y swyddau o fardd ac ysgrifenydd i'r Gymdeithas hòno. Dychwelodd yn ol i Nantglyn, ger Dinbych, ei ardal enedigol, ym mhen pedair blynedd. Ennillodd amryw wobrau mewn barddoniaeth a fyddai yn destynau cynnygiedig gan Eisteddfodau, hyd ennill cadair farddonol Powys, yn Eisteddfod Gwrecsam, yn 1820, am ei Farwnad i George III. Cyhoeddwyd ei holl waith barddonol yn 1827, o dan yr enw 'Diliau Barddas.' Y mae yn adnabyddus yn well wrth ei waith gramadegol, yr hẃn a argraffwyd gyntaf yn 1808, ac a aeth trwy luaws o argraffiadau ar ol hyny. Bu farw Rhagfyr 1, 1835, a chladdwyd ef yng Nantglyn, lle y buasai yn glochydd y plwyf dros lawer o flynyddoedd, yn 66 oed.*

8. 'Cwyn y Cystuddiedig, a Griddfanau y Carcharorion Dieuog: neu, Ychydig o Hanes Dioddefiadau diweddar Thomas John a Samuel Griffiths, y rhai gwedi goddef gorthrymder tost, a chaethiwed caled, dros chwech neu saith o fisoedd, yn ddiachos, a gawsant eu rhyddhau, o'r diwedd, yn yr uchel eisteddfod, neu y sessiwn mawr diweddaf, yn Hwlffordd; er dirfawr siomedigaeth i'w gelynion gwaedlyd a dideimlad.

Caerfyrddin: Argraphwyd gan Ioan Evans, yn Heol-y-Prior. [Prîs Chwe' cheiniog.]'

Dywedir mai yr awdwr ydoedd y Dr. W. Richards, o Lynn. Cyhuddid hwynt o deyrnfradwriaeth, sef rhoddi cyfarwyddiadau i'r Ffrancod a ddaethent i Abergwaen. Bedyddiwr ydoedd T. John, a Henaduriaethwr neu Annibynwr ydoedd S. Griffiths. Y mae y llyfr wedi ei ysgrifenu yn nodedig o ddyddorol, a chydag ysbryd gwrol. Cyhoeddwyd yr unrhyw yn Seisonaeg o dan yr enw:—

9. 'The Triumph of Innocency; or, a brief Narrative of the late Thomas John and Samuel Griffiths,' &c.

10. 'Diwygiad neu Ddistryw. Cymmerwch eich dewis; yn yr hwn yr ystyrir ymddygiad y Brenin, y Senedd, y Swyddogion, y Gwrthwynebwyr, y Pendefigion a'r Boneddigion, yr Esgobion, a'r Offeiriad, a'r diwygiad hwnnw a ddanghosir, yr hwn yn unig a all achub y wlad. Gan John Bowdler, Yswain. A gyfieithwyd i'r Gymraeg, gan y Parchedig W. Evans, Towy Castle.

* Williams's *Dictionary of Eminent Welshmen.*

Caerfyrddin, Argraffwyd gan John Evans, yn Heol-y-Prior. 1798.'*

WILLIAM EVANS ydoedd o Towy Castle, ym mhlwyf Llandefaelog, ger Caerfyrddin, a gweinidog y plwyf hwnw. Bu farw Ionawr 20, 1833, yn 75 oed.†

11. 'Llyfr Gweddi Gyffredin, &c.

Argraphwyd yng Ngwrecsam, ac ar werth yno gan R. Taylor. 1798.'

12. ¶ 'Crist yn Iachawdwr Cyflawn. Gan John Bunyan, at yr hyn y chwanegwyd nodau gan Mr. William Mason. Wedi ei Gymreigio gan John Thomas.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan John Daniel.'

13. 'Gorfoledd ym Mhebyll Seion: neu Hymnau Efangylaidd wedi eu cymeryd allan o'r Ysgrythyrau Sanctaidd. Gan Dafydd William. Y pedwerydd argraphiad.‡

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Daniel. 1798.'

14. 'Hymnau Newyddion. Gan William Lewis, Llangloffan.§

A gyhoeddwyd gan Evan Rees.

Caerfyrddin: Argraffwyd gan J. Evans, 1798.'

15. 'Sylwadau ar y Dirywiaeth mewn pregethu a chanu, yng Nghymru. Allan o waith y gweinidogion Parchedig a ganlyn, sef W. Williams, M. Rhus, ac N. Gwilym.

Abertawe: Argraphwyd gan Voss a Morris. 1798. [Pris ceiniog.]'

Yr oedd hwn yn ail argraffiad, gyda rhai cyfnewidiadau.‖

16. 'Llythyr oddiwrth Gymmanfa Dde-ddwyreiniol y Bedyddwyr yng Nghymru: 1798.

Trefecca: Argraphwyd yn y flwyddyn. M,DCC,XCVIII.'

17. 'Amryw Hymnau Dymunol a Phrofiadol, o waith Harri Sion, gerllaw Pont-y-pwl, yn sir Fynwy. At ba rai y chwanegwyd Pigion o Hymnau, o waith yr awdwyr hynottaf yn yr oes bresennol.

* Ymddengys fod dau argraffiad o'r llyfr hwn wedi ei gyhoeddi yn yr un flwyddyn, hwn yng Nghaerfyrddin, a'r llall yng Nghroesoswallt, un i'r Deheudir, a'r llall i'r Gogledd; gwel rhif 2. [Yr oeddynt yn ddau gyfieithiad gwahanol: hwn gan y Parch. W. Evans, a hwnw gan y Parch. Walter Davies.]

† Ei Feddfaen.

‡ Gwel rhif 10, d.f. 1782; rhif 13, d.f. 1795; rhif 26, d.f. 1797; a hwn yma.

§ [Gweler rhif 17, d.f. 1786.]

‖ Gwel rhif 21, d.f. 1794.

Caerfyrddin: Argraphwyd, ac ar werth gan Ioan Daniel. 1798.'*

18. 'Coffadwriaeth y Cyfiawn: neu Farwnad, er Côf am farwolaeth y Duwiol a'r Parch. Mr. Richard Tibbott, yr hwn a fu yn weinidog hir flynyddau i Eglwys yr Ymneillduwyr yn Llanbrynmair, yn Sir Drefaldwyn; ac a hunodd yn yr Arglwydd ar ddydd Sabboth, y 18 o Fis Mawrth, yn y flwyddyn 1798, o fewn ychydig wythnosau i bedwar ugain oed. Gan Jonathan Powell.

Trefecca: Argraphwyd yn y Flwyddyn. M,DCC,XLVIII.'

Jonathan Powell a anwyd yn Nefynog, sir Frycheiniog. Bu yn weinidog yr Ymneillduwyr yng Ngodre Rhos, Morganwg, ac wedi hyny symmudodd i Raiadr Gwy, sir Faesyfed, yn 1790. O blegid egwyddorion Sabelaidd rhai yn y gynnulleidfa, efe a ymadawodd ym mhen saith mlynedd, ac ymsefydlodd yn sir Fon. Bu flynyddau yn weinidog yr Annibynwyr yn y Capel Mawr a Rhos y Meirch, yn sir Fon. Bu farw Gorphenaf 6, 1823, yn 59 oed,† a chladdwyd ef wrth gapel Rhos y Meirch, lle y mae cofadail am dano.

19. 'A Collection of Welsh Tours, or a Display of the Beauties of Wales, Selected principally from Celebrated Histories and popular Tours, with occasional remarks. To which is added a Tour of the River Wye. Third Edition corrected. Embellished with Seven Engravings and two Characteristic Ruins.

London, Printed for G. Seal, No. 192 Strand, and Sold by M. Pool & Son, Chester. 1798. Price 6s. Bound.'

20. 'Two Successive Tours throughout the whole of Wales, and several of the adjacent Counties, so as to form a Comprehensive view of the Picturesque Beauty, the peculiar manners and the fine Remains of antiquity in that interesting part of the British Island. By Harry Skrine, Esq. of Warley in Somersetshire, author of three successive Tours in the North of England and Scotland in 1795.

London, Printed for Elmley & Bremner in the Strand. 1798.'‡

21. 'Pregeth ar yr Adgyfodiad Cyffredinol; oddiwrth Ioan v. 28, 29. Yn Saesonaeg gan y Parchedig Samuel Davies, A.M. yn Prince-town Jersey Newydd, America. Wedi ei throi i'r Cymraeg gan y Parchedig M. Jones.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan Ioan Daniel.'§

* Gwel rhif 28, d.f. 1773.

† *Y Beirniad*, 1862, t. 100.

‡ Daeth ail argraffiad allan yn 1813, gyda pharthleni a chwanegiadau.

§ Cyhoeddwyd y bregeth ragorol hon yn yr *Eurgrawn Wesleyaidd*, am Awst, Medi, a Hydref, 1812.

22. ¶ 'Y Catecism Byrraf. Y Pedwerydd Argraffiad.

Caerfyrddin.'*

23. ¶ 'Y Canlynol tra buddiol o godidog-gyngor i ystyriaeth pob Cymro. . . . .

Caerfyrddin.'*

24. ¶ 'A Vocabulary of the Lord's Prayer, the Creed, &c.

Carmarthen.'*

25. ¶ 'Marwnad Owen Jones o Dewdraeth, Sir Benfro.'†

26. ¶ 'A Welsh and English Dictionary, in which the English Words, and sometimes the English Idioms and Phraseology, are accompanied by those which Synonymise or Correspond with them in the Welsh Language. By W. Richards.

Carmarthen, 1798.'

[Amlwg ydyw, wrth eiriad enw y llyfr hwn, mai Geirlyfr Seisoneg a Chymraeg ydyw, ac nid Cymraeg a Seisonaeg. Ni chyhoeddodd y Dr. W. Richards ond *un* Geiriadur ; ac yn hwnw y mae y Seisoneg o flaen y Gymraeg. Yr un yn ddilys yw hwn yma â rhif 3, dan y flwyddyn hon. Nid oes un ammheuaeth o barthed y flwyddyn y cyhoeddwyd y gwaith.]

27. 'A Walk through Wales in August 1797. By the Rev. Richard Warner of Bath. Second Edition.

Bath : Printed by R. Cruthwell. 1798.'

28. 'Golwg ar Aberth Crist. Gan Thomas Jenkins, o Lanboidy.

Caerfyrddin, argraphwyd gan Ioan Evans, 1798.'

29. 'British Tourist. Vol. 5. Containing Tours through North and South Wales. 1798.'

30. ¶ 'Cambro-Britons, an Historical Play performed at the Theatre Royal, Haymarket. 1798.'

31. 'A Gentleman's Tour through Monmouthshire and Wales, in the Months of June and July. The Second Edition.

London : Printed, by Assignment of T. Evans of Pater-noster row, for J. Nunn, Great Queen-Street, Lincoln's inn-fields. 1798.

32. ¶ 'The Interesting privately printed Cases of Thos. Adair and the Rev. J. Maitland in a Dispute concerning the Estate at Tregare, Brecknockshire.'

* *Llythyr* Mr. B. Davies.

† Yr oedd gwaelod y ddalen wedi tori o'r un a welais.

Y mae yn ddwy ran unplyg, ac argraffwyd hwynt mewn dadl gyfreithiol yn 1798.

33. 'Myfyrdod ar Einioes ac Angau a ysgrifenwyd mewn Mynwent yn y Wlad, ym mrig yr hwyr. Wedi ei droi o Saesonaeg T. Gray.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Evans, yn Heol-y-Prior. 1789. [Pris ceiniog].'

[Cyfieithiad y Parch. Dafydd Dafis, o Gastell Hywel, o *Gray's Elegy.*]

34. 'Coffadwriaeth o Farwolaeth Mr. Morgan Davies a'i wraig, gynt o Gefntelyrch, gerllaw Llanymddyfri; y rhai a fuont feirw mewn Oedran teg, o fewn i Ddeg o Ddyddiau y naill i'r llall, yn Mis Mawrth, 1798, ac a gladdwyd yn Mhentre'-tŷ-gwyn. Gan E. Harries.'

Caerfyrddin; Argraffwyd gan Ioan Evans yn Heol-y-Prior. 1798.'

[Evan Harries, awdwr y farwnad hon, ydoedd weinidog perthynol i'r Annibynwyr yng nghymmydogaeth Llanymddyfri. Priododd â merch i'r Parch. Dafydd Davies, gweinidog yr Annibynwyr yn Abertawy, awdwr Sylwadau ar y Beibl. Torodd allan wedi hyny yn ddyn penrydd, ac ymrestrodd megys milwr cyffredin; a hyd y mae yn hysbys i mi, yn y fyddin y terfynodd ei oes.* Cyhoeddwyd yn gynnar yn y ganrif bresennol Gân o'i gyfansoddiad, yr hon a anfonodd at ei dad yng nghyfraith, ac yn yr hon y mae yn galaru o herwydd ei gwymp, ac yn proffesu edifeirwch am ei gamweithredoedd. Dywedir ei fod yn wr doniol a phoblogaidd pan yr oedd yn y weinidogaeth. Morgan Davies a'i wraig, gwrthddrychau y farwnad a gofnodir yma, oeddynt amgeleddwyr boreuol y Parch. Morgan Jones, Trelech.]

35. ¶ 'A Description of the Beauties and Pecularities of Gresford Vale, and other Poems. By M. Holford. 1798.'

Tybir mai ffugenw yw yr uchod, ac mai cyfansoddiad dwy awdures, Mrs. Parry, a Mrs. Ellen Warrington, ydyw.

36. ['Clarke's Emily Ianthe, or The Flower of Caernarvon. 2 vols. 12mo.]

37. ['Llu o Ganiadau, neu Gasgliad o Garolau a Cherddi Dewisedig, er Diddanwch i'r Cymry, o Waith amryw Brydyddion, at yr hyn y chwanegwyd Amryw Benhillion o Hymnau. O Gasgliad W. Jones, Bettws-Gwerfil-Gôch.

Croesoswallt: Argraphwyd gan W. Edwards. 1798. [Pris Swllt mewn Papur Glas.' 12plyg: 144 tudalen.]

* [Hyny, fel yr ymddengys, ydoedd ei ddysgwyliad ef ei hun, pan yn ysgrifenu y gân a grybwyllir uchod.

'Ar ryw *waedlyd faes*, tybygaf,
Y gadawa'i'r ty o glai;
Yna hed fy enaid adref
At yr ailanedig rai.']

Ym mhlith awduron y caniadau, heb law y casglydd, William Jones, ceir enwau 'William Cadwaladr;' 'Y Parchedig Mr. Edward Samuel;' 'Ellis Cadwaladr;' 'Rowland Davies;'* 'Ellis Roberts' (y Pastynfardd); 'Rowland Hughes;'† 'Mr. William Wynne;' 'Matthew Owen;' 'Hugh Morris;' 'Jonathan Hughes; 'Thomas Edwards' (o'r Nant); 'John Rees;' 'Dafydd Manuel;' 'John Williams, Cynwyd;' ac 'L. P.' Nifer yr 'Hymnau' ar y diwedd yw un ar bymtheg.]

## 1799.

1. 'Agoriad ar y Prophwydoliaethau hynod a gynhwysir yn yr Unfed Bennod ar Ddeg o lyfr y Datguddiad. Wedi ei dynu allan o waith Dr. Gill,‡ â'i Gymreigio gan Daniel Jones.

Abertawe: Argraffwyd gan Voss a Morris. 1799. (Pris Chwe' Cheiniog.')

2. 'Trysorfa Ysprydol, yn cynnwys, Amrywiaeth o bethau ar amcan Crefyddol, yn athrawiaethol, yn annogaethol, yn hanesiol, &c. Y'nghyd ag ychydig Farddoniaeth. Gan T. C. a T. J.

Caerlleon: Argraffwyd gan W. C. Jones, y'mynwent St. Pedr. Pris Chwe cheiniog. Ac a fwriedir i'w gyhoeddi bob tri mis rhagllaw.'

Y golygwyr oeddynt y Parch. T. Charles, Bala, a'r Parch. T. Jones, Dinbych. Chwech rhifyn chwarterol a gyhoeddwyd, yn gwneyd cyfrol o 376 tudalen 8plyg. Yr oedd y Parch. Thomas Jones, person Creaton, yn sir Northampton, a'r Parch. Edward Morgan, wedi hyny ficar Syston, sir Lester, yn ysgrifenu iddo hefyd.

3. 'The Royal Tribes of Wales. By Philip Yorke, Esq. of Erthig.

Wrexham, Printed by John Painter. 1799.' 4to.

Y mae yn cynnwys darluniad o Humphrey, Dug Buckingham; Arglwydd Ellesmere; Jeffrey, a Vaughan; Sir Orlando Bridgeman; Thomas Hanmer; Thomas Myddleton; J. Trevor; W. Williams; J. Wynne; Catherine o'r Berain; a Humphrey Lhwyd.

[Ail argraffiad o'r 'Tracts of Powys' (rhif 1, d.f. 1795) ydyw y gwaith hwn, ond ei fod wedi cyfnewid ei enw.]

4. 'Hanes y Byd a'r Amseroedd. Er Hyfforddiad rhai o'r Cymry. O waith S. T.

Dolgellau, Argraphwyd gan T. Williams. 1799.'

Ymddengys fod hwn yn bummed argraffiad, o leiaf.§ Yr argraffydd,

* 'Neu Rowland o'r Pandy, plwyf Llanycil, neu Lanuwchllyn.'—*Nod llawysgrifol Gwallter Mechain.*

† Rolant Huw, o'r Graienyn, ger y Bala, y mae yn debyg.

‡ [Gweler rhif 5, d.f. 1751, lle y ceir cofnod bywgraffiadol am y Dr. Gill.]

§ Gwel rhif 6, d.f. 1721; rhif 1, d.f. 1724; rhif 1, d.f. 1728; a hwn yma; a chafodd ei argraffu rai gweithiau ar ol 1799.

Thomas Williams, ydoedd fab i William Jones ac Elen Thomas, o Benardd Wynion Fawr, ym mhlwyf Llanfachraith [ger Dolgellau], yn sir Feirionydd, ac wedi hyny o'r Cae Glas, yn yr un plwyf. Arferai, yn ei ieuenctyd, fyned i Loegr fel gyrwr anifeiliaid; ac yno y daeth yn hoff o lyfrau, ac i ryw fesur yn adnabyddus â'r gelfyddyd o argraffu. Ymsefydlodd yn Nolgellau fel llyfrwerthydd, a cheisiodd lythyrenau a gwasg ei hun, ac ymarferodd ei hun yn oreu ag y gallai, heb erioed fod yn dysgu y gelfyddyd. Priododd Barbara, merch — Pierce, o Bengwern, Ffestiniog; a daeth yn dra chyfoethog. Yr oedd yn fawr ei sel dros yr Eglwys Sefydledig; ac efe, gydag un arall, yn ei oriau hamddenol, a blanodd yr holl blanigion eiddew sydd yn tyfu oddi amgylch i furiau eglwys a mynwent Dolgellau. Yr oedd yn hynod o gymmwynasgar pan y cyfarfyddai ag unrhyw un mewn eisieu ag y byddai ganddo feddwl parchus am dano. Byddai yn hynod o rwydd i fenthyca arian i'w gyfeillion, ac y mae lle i gasglu iddo fod yn golledwr o'r herwydd. Gadawodd, yn ol ei ewyllys, log 50*p.* i'w ddosbarthu bob chwe' mis, i aelodau tlodion Eglwys Loegr ym mhlwyf Llanfachraith. Bu farw Awst 16, 1841, yn 84 oed; ac y mae careg gerfiedig ar ei fedd, gyda'i wraig a'i rieni, a choflech ei elusenau yn yr eglwys, yn Llanfachraith.*

5. 'Hanes holl Grefyddau y Byd, yn enwedig y grefydd Gristionogol; ym mha un y gosodir allan ddarluniad cywir o'r holl wahanol Sectau, Opiniynau a Daliadau Proffeswyr yr oes bresennol, &c. Ynghyd ag amryw Sectau eraill llai hynod a sonir am danynt yn Nghorff y gwaith. Gan M. Williams, M. T., awdwr Drych y Ddaear a'r Ffurfafen, Mesurwr Cyffredinol, &c., &c.

Caerfyrddin, Argraffwyd ac ar werth gan I. Daniel. Ar werth hefyd gan Messrs. North yn Aberhonddu. 1799.'

6. 'Bywyd Duw yn Enaid Dyn. Gan Henry Scougal, A.M. Wedi ei droi yn Gymraeg gan D.D.

Caerfyrddin, Argraffwyd gan J. Ross. 1799.'†

Y D.D. uchod ydoedd y diweddar Barch. D. Davies, o Gastell Hywel, yn sir Aberteifi.

7. ¶ 'Achos Pwysig yn cael ei ddadleu, mewn tri o Gydymddiddanion, rhwng Dr. Opium, Galio, a Discipulus. A fwriadwyd er argyhoeddi gwawdwyr Cyfeiliornus, &c. A gyfieithwyd i'r Gymraeg, (allan o'r seithfed argraphiad yn Saesoneg), er addysg i'r anwybodus.

Liverpool: Argraphwyd gan Robinson a Lang.'

Y cyfieithydd a'r cyhoeddydd ydoedd Mr. Robert Jones, awdwr 'Drych yr Amseroedd,' &c.

* *Llythyr* Mr. L. Williams, Dolgellau; a thystiolaeth Mrs. Catherine Jones, yr argraffyddes.

† Ymddengys fod hwn yn ail argraffiad; gwel rhif 2, d.f. 1779.

8. 'Golwg ar Deyrnas Crist, neu Grist yn Bob Peth, ac y'mhob Peth, sef Caniad mewn dull o agoriad ar Col. iii. ii., &c. Gan y diweddar Barch. W. Williams. Y trydydd argraphiad, wedi ei ddiwygio o amryw feiau.*

Trefecca, Argraphwyd, 1799. (Pris Swllt.)'

9. 'Myfyrdod y Meddwl, ar Gyflwr y Duwiol yn y Bywyd hwn, hefyd, ar Gariad Tragwyddol. Mewn dull o Gân. Gan Edward Francis, Lambeth Llundain, 1799.

Argraphwyd gan J. Jones, Chapel Street Soho.' 16 tudalen 12plyg.

10. 'Drws yr Eglwys Weledig wedi ei agor yn lled y Pen; fel y gallo credinwyr a phlant bychain ddyfod i mewn. Gan Thomas Jones, curad Creaton yn Sir Northampton.

Caerlleon, Argraphwyd gan W. C. Jones, y'mynwent St. Pedr, 1799. Pris un Swllt, neu hanner Gini'r dwsin.'

Ceir y mynegiad canlynol yn niwedd y llyfr hwn:—'Bydd yn hawdd i'r Cymru faddeu fy anwybodaeth o'r iaith Gymraeg, pan glywant i mi droi yn Sais, er ys agos i ugain mlynedd. Gallaf ddywedyd;—

Bachgen unwaith uniaith o'wn,—wrth deithio
Rhwng dwyiaith bu'm dwthwn,
Un gollais, gynta gallwn,
Un arall, yn gyfaill gawn.'

Achlysurodd cyhoeddiad y llyfr hwn ddadl rhwng yr awdwr a'r Parch. Christmas Evans. Cyhoeddwyd ail argraffiad yn 1801, yr hwn a gynnwys atebion Mr. Jones i Mr. Evans.

11. 'Coffadwriaeth am y Parch. Richard Tibbott. Yr hwn a fu'n pregethu'r efengyl o gylch 60 mlynedd ac a fu'n Weinidog yn Llanbrynmair 35 mlynedd, ac a orphenodd ei yrfa Lafurus, Mawrth 18, 1798, o fewn ychydig wythnosau yn 80 oed. A gyhoeddwyd ar ddymuniad yr eglwys oedd dan ei ofal gweinidogaethol yn Llanbrynmair. Gan William Hughes, Dinas y Mawddwy.

Machynlleth, Argraphwyd yn y flwyddyn. 1799.'

William Hughes ydoedd fab i Hugh a Mary Rowlands, o Rhosgell Bach, ym mhlwyf Llanystumdwy, sir Gaernarfon, lle y ganwyd ef ym Mai, 1761. Yr oedd yn gefnder i'r Parchn. John a Richard Thomas, gweinidogion enwog yn yr Eglwys Sefydledig, meibion Thomas Rowland, Tu Hwnt i'r Bwlch. Yn ol arferiad y Cymry, mabwysiadodd enw cyntaf ei dad yn gyfenw, ac felly yn W. Hughes. Ymunodd yn ieuanc â'r Ymneillduwyr ym Mhwllheli.

* Gwel rhif 7, d.f. 1756; rhif 6, d.f. 1764; a hwn yma.

Pregethodd y waith gyntaf yn y Capel Newydd, nid pell o'r dref hòno, pan yn 20 oed. Ni chafodd ond elfenau dysgeidiaeth o dan y Parch. A. Tibbott, Llanuwchllyn. Efe oedd y cyntaf i sefydlu gweinidogaeth yr Ymneillduwyr ym Mangor a'r cymmydogaethau. Ordeiniwyd ef yng Nghaegwigin (wedi hyny Bethlehem), ger Bangor, tua'r fl. 1787, lle y bu hyd 1797, pryd y symmudodd i Ddinas Mawddwy, lle y bu farw Rhagfyr 31, 1826, yn 65 oed.*

12. 'Drych y Prif Oosoedd, &c. Gan Theo. Evans.

Croesoswallt, Argraffwyd gan W. Edwards, M,DCC,XCIX.'

Ymddengys fod hwn yn bummed argraffiad, o leiaf.†

13. 'Cyfreithlondeb Rhyfel: Amddiffyniad o'r Egwyddorion Cristionogol yn cael ei ystyried yn ddiduedd gan Weinidog o Eglwys Loegr. Wedi ei gyfieithu o'r trydydd Argraphiad yn Saesonaeg. Gan A. ap D. Sion.

Caerfyrddin, Argraphwyd yn y flwyddyn 1799.'

14. 'Marwnad ar Farwolaeth Mr. William Jones. Gan B. Francis, M.A.

Caerfyrddin, Argraphwyd gan J. Daniel, 1729.'

15. 'Salmau, Hymnau, ac Anthemau, a arferir eu canu yn Eglwys Llanbeblig.

Caernarfon: M,DCC,XCIX.'

16. 'Salmau a Hymnau, wedi eu diwygio.

Caerlleon, Argraphwyd gan J. Fletcher. 1799.'

17. 'Dwy o Gerddi Newyddion. Y gyntaf, Hanes yr Hen Gymry, &c. Yr ail, Gwrthwyneb i Queen Bess.

Caerfyrddin: Argraphwyd gan Ioan Evans. 1799.'

18. 'Y Maen Tramgwydd: neu ddau Bennill o Ymofyniad, mewn perthynas i Fatterion dadleugar mewn Crefydd, &c. Gan John Evans,‡ Prydydd a Darllenydd yn Llanarth.

Caerfyrddin: Argraphwyd gan Ioan Evans, 1799.'

* *Y Dysgedydd*, am 1835; *Y Brython*, 1859-60.

† Gwel rhif 4, d.f. 1716; rhif 4, d.f. 1740; rhif 3, d.f. 1794; rhif 10, d.f. 1796; a hwn yma.

‡ [Evan Thomas, sef Evan Thomas Rhys, a ddylasai yr enw hwn fod. Nis medraf ddirnad pa fodd y troed ef yn 'John Evans;' os na chymmerwyd benthyg enw yr argraffydd yn lle enw yr awdwr.]

Dichon fod hwn yn ail argraffiad. Dywedir mai rhyw weinidog a dderbyniodd yr 'Ymofyniadau' oddi wrth un o'i wrandawyr. Anfonodd yntau yr unrhyw at un Evan Thomas Rhys, yr hwn oedd yn fardd, ac yn fab i un Thomas Rhys Siams, o Lwyn Dafydd, ger llaw Llanarth, ond ym mhlwyf Llandyssilio Gogo, yn sir Aberteifi. Yr oedd Evan T. Rhys yn deall cryn lawer o'r ieithoedd Lladin a Groeg,* er mai crydd ydoedd wrth ei alwedigaeth. Bu farw tua'r fl. 1762. Cyhoeddwyd atebiad iddo, ac o blaid yr ochr wrth-Arminaidd, gan un Evan Dafydd, neu Evan Dafydd Jenkin, o Gwswch, ym mhlwyf Llanfair Clydogau. Atebodd Evan Thomas Rhys hwnw. Cyhoeddwyd yr oll yn 1842, gan Mr. William Hughes Griffiths, Ty Hen, Llandyssilio Gogo, gydag amryw ereill weithiau yr un prydydd ac ereill, yn cael eu rhagflaenu â bywgraffiad y prydydd gan Mr. D. Owen *(Brutus)*, o dan yr enw 'Diliau'r Awen.'†

19. 'The Cambrian Register, for the Year 1796. Vol. II.

London, Printed for E. and T. Williams. 1799.'‡ [8vo.]

Cyhoeddwyd y gyfrol am 1795 yn 1796; ond ni ddaeth y gyfrol am 1796 allan yn llawn hyd 1799. Er ei fod yn gyhoeddiad chwarterol;§ ymddengys, er hyny, mai yn achlysurol y deuai allan, yn awr a phryd arall, yn lled anghysson.

20. 'Llythyr oddiwrth Gymmanfa o Weinidogion, a gyfarfuant yn Ebenezer, gerllaw Pont-y-pool, yn Swydd Fynwy, Mehefin 27, a'r 28, 1799; at Eglwysi yr Ymneillduwyr, yng Nghymru, a elwir yn gyffredin Independiaid.

Caerfyrddin: Argraphwyd gan Ioan Evans, yn Heol-y-prior. 1799.'

21. 'Hyfforddwr neu Lyfr yn cynnwys pob cyfarwyddiadau angenrheidiol i ddysgu darllain a deall Cymraeg: ynghyda llawer o wersi buddiol yn tueddu i godi blys at ddarllain ac i oleuo deall yr anwybodus. Gan John Griffiths, gweinidog yr efengyl.

Caerlleon: Argraphwyd gan Jones a Crane;‖ dros Owen Owens, Caernarfon. 1799.'

Y mae rhagymadrodd maith a buddiol iawn yn rhagflaenu y *Reading Made Easy* hwn yn arwyddedig 'J. G., Caernarfon, 27 Hydref, 1799,' lle yr oedd yr awdwr yn gweinidogaethu ar y pryd.**

* [Nid oes prawf na thebygoldeb ei fod yn hyddysg yn y Lladin a'r Groeg, ond dichon ei fod yn gwybod rhyw ychydig am danynt.]

† Rhagymadrodd 'Diliau'r Awen,' gan Brutus.

‡ Gwel rhif 14, d.f. 1796.

§ [Cyhoeddiad *blynyddol* yn hytrach yr amcenid i'r 'Cambrian Register fod; o leiaf nid oedd un bwriad i'w ddwyn allan bob tri mis.]

‖ W. C. Jones, a T. Crane.

** Gwel rhif 1, d.f. 1788.

22. 'Llythyr y Gymmanfa at yr Eglwysi, yn y Flwyddyn 1799.

Caerfyrddin: Argraphwyd gan Ioan Evans, yn Heol-y-prior.'

23. 'Gair yn ei Bryd, at Lywodraethwyr y Cymmanfaoedd; neu Yspryd y Byd, a'r Yspryd sydd o Dduw, yn cael ei osod gyferbyn a'u gilydd, a cherbron y Cymry, er rhybudd ac addysg iddynt, yr amser hynod hwn, 1799. Gan W. Williams, o Aberteifi.

Caerfyrddin, Argrphawyd gan Ioan Evans, yn Heol-y-Prior. 1799.

24. 'Laws and Regulations of the Cymreigyddion Society amended.'*

25. 'Y Mil-Blynyddau. Rhydd-ddeongliad o Gan Moses. Dau Garol Nadolig. Gwaith Dafydd Ionawr.

Argraphwyd yn Nolgelley gan T: Williams. M,DCC,XCIX. Ac ar werth gan Mr. H: Evans, Llanfaircaereinion; Mr. D: Roberts, Mallwyd; Mr. J: Owen, Machynlleth; Mr. E: Williams, Maentwrog; Mr. R: Owen, Caernarfon; a chan amryw Lyfrwerthwyr ereill Yngwynedd. [Gwerth 8 Geiniog.]'

Y mae wedi ei gyflwyno 'At y Parchedig Mr. Thomas Jones, o Sir Northampton.'—'Fy Nghyfaill. Yr wyf yn cymmeryd y Rhydd-did i gyflwyno hyn o lyfran bychan i chwi. Er eich bod yn gwladychu er ys llawer o flynyddau, ym Mro Sais, etto Chwi a ddangosasoch lawer o garedigrwydd a ffyddlondeb i Gymru oer lom, ac i minnau hefyd. Mi a ddymunwn, tra byddo i'n gwaith barhau fod ein henwau ni'n anwahanol. Tanghnefedd Dduw i chwi yn y Byd hwn, a Thrag'wyddol orphwysfa i'ch Enaid yn y Byd a ddaw—Hyn yw difrifol ddymuniad eich hen Gyfaill ffyddlon,

DAFYDD IONAWR.'

26. 'A Welsh and English Dictionary; compiled from the Laws, History, Poetry, Bardism, Proverbs, and other Monuments of the Knowledge and Learning of the Ancient Britons; with numerous and select Quotations to Elucidate the Meaning of Words. To which is prefixed, A Welsh Grammar. By William Owen, F.S.A.

London: Printed for E. and T. Williams. 1799.' 4to.

[Rhan, yn ddiau, o Eiriadur y Dr. Puw, a ymddangosodd y flwyddyn hon. Ni orphenwyd mo hono o tan y fl. 1803. Cymharer y nod ar rif 8, d.f. 1793. Wythplyg yw y llyfr, ond argraffwyd ychydig nifer o hono ar papyr pedwarplyg.]

* Leathart's *Origin and Progress of the Gwyneddigion Society*. W. D. Leathart ydoedd frodor o Lanrhaiadr.* Dewiswyd ef yn aelod o Gymdeithas y Gwyneddigion yn 1814. Yr oedd o'r blaen yn aelod o Gymdeithas y Cymmrodorion. Bu yn rhaglywydd yn 1802; ac yn llywydd yn 1830. Bu farw yn Bricston, Tachwedd 24, 1830. [Os felly, bu farw cyn cyhoeddi ei Hanes am Ddechreuad a Chynnydd y Gwyneddigion, yr hwn nid ymddangosodd hyd y fl. 1831.]

* [Sef Llanrhaiadr, yn Nyffryn Clwyd, fel yr ymddengys.]

27. ¶ 'A Tour through Wales in 1799. By the Rev. R. Warner.'

28. ¶ 'Coffadwriaeth am ddau o Weinidogion.'

29. ¶ 'Gwirionedd Iachawdwriaeth Gyffredinol. Gan Wm. Beveridge.

Caerlleon.'

30. ¶ 'Iachawdwriaeth trwy Ffydd. Gan John Wesley.

Caerlleon.'

31. ¶ 'Hyfforddiant i'r Anllythyrenog i ddarllain Cymraeg; A Gyfansdddwyd i'w arferyd yn yr Ysgolion tan Olygiad y Gymdeithas a Sefydlwyd yn Llundain, i gynnal ac i annog Ysgolion y Sul, trwy y Deyrnas.'

Sillebydd yw hwn, heb fod wrtho enw awdwr nac argraffwr, y lle, na'r flwyddyn y cafodd ei argraffu. Dywed traddodiad mai gwaith y Parch. T. Charles ydoedd.

32. 'Muscipula, sive Cambro-Myo-Machia Carmen Heroico-Facetum. By E. Holdsworth.

Bath, 1799.' Re-published by David Hartley.*

33. 'Y Bibl Cyssegr-Lan, sef yr Hen Destament a'r Newydd.

Rhydychain. M.DCC.XCIX.' [Unplyg.]

Beibl mawr i'r Eglwysi ydoedd hwn; ei orgraff ydoedd yr un â Beibl 1752. Daeth allan dan gefnogaeth y Dr. Bagot, esgob Rhydychain, yr hwn a roddodd y Parch. D. Davies, person Penegoes, i olrhain Beibl 1752, fel ag i wella unrhyw wallau a allasai eu gweled ynddo. Rhoddodd yntau y Parch. E. Evans, ag oedd y pryd hyny yng Ngholeg yr Iesu, i roddi ei welliadau i mewn i'r argraffwyr. Y Parch. R. Hughes, o Goleg Iesu, yn cael ei gynnorthwyo gan y Parch. E. Hughes, o Gaerwys, oeddynt ddiwygwyr y profleni. Rhoes R. Hughes y gwaith i fyny, a chymmerwyd ei le gan y Parch. John Roberts, o Dremeirchion, pan oedd yn Rhydychain yn ymbarotoi i gymmeryd ei raddau. Yr oedd y Parch. E. Evans, o Lanfihangel, yn cynnorthwyo hefyd, pan oedd yn efrydu yn y coleg.†

[Ganwyd y Parch. John Roberts, A.C., ym Mhalas Harri, plwyf Llannefydd, yn sir Ddinbych, yn y fl. 1775. Aeth i Goleg Iesu, Rhydychain, yn 1792. Gwedi ei urddo, yn 1798, gwasanaethodd guradiaeth Chislehampton a Stadhampton, o ddeutu saith milltir o Rydychain. Yn 1803 dychwelodd i Gymru, a chafodd fywoliaeth Tremeirchion yn 1807, lle yr arosodd hyd ddydd ei farwolaeth, yr hwn a ddygwyddodd ar y 25med o Orphenaf, 1829, a chladdwyd ef ym mynwent ei blwyf genedigol.‡ Cyhoeddodd argraffiad newydd cyfnewid-

* J. R. Smith's *Old Book Circular.*

† Roberts's *Letter to the Rev. W. Dealtry.*

‡ *Y Gwyliedydd*, vii. 263, 295.

iedig o'r *Homiliau* yn 1817 (Dolgellau, 8plyg); a golygodd gyhoeddiad cyfnodol Cymraeg a Seisoneg o'r enw *Cylchgrawn Cymru*, o'r hwn nid ymddangosodd ond ychydig o rifynau. Yn y fl. 1825 ymddangosodd llyfryn Seisoneg bychan o'r eiddo ef o blaid hen orgraff y Beibl a'r Llyfr Gweddi Gyffredin, dan yr enw —'Reasons for rejecting the Welsh Orthography, that is proposed and attempted to be introduced, with a view of superseding the system that has been established since the publication of Dr. Davies's Grammar and Dictionary, and Bishop Parry's Edition of the Welsh Bible, and that of 1630' (12plyg, Caerfyrddin, 1825); a derbyniodd wobr y Gymdeithas er Taenu Gwybodaeth Gristionogol a Hyrwyddo Undeb Eglwysig yn Esgobaeth Ty Ddewi, am y gwaith. Yn erbyn y llyfryn hwn yr ysgrifenodd Tegid ei 'Defence of the Reformed System of Welsh Orthography,' yr hwn a gyhoeddwyd yn Rhydychain yn 1829, 8plyg.

Argraffiad anghywir a thrwstan ddigon yw yr argraffiad dan sylw o'r Beibl Cymraeg; ac nid yw yn adlewyrchu nemawr o anrhydedd ar ysgolheigdod y gwŷr a'i dygasant trwy y wasg.]

34. ¶ 'Y Llofryddiaeth Waedlyd: neu Rhybudd Dychrynllyd i Blant Anufudd. Mewn Hanes Athrist ac Ofnadwy am un Sion Gill, o Dref Oborn yn Bedford, Arwaenydd Bywyd Drwg. At ba un y Chwanegwyd diwedd Truenusaf Mwrdrad ar Fwrdrad. Wedi ei osod allan mewn Hanes gywir a Ffyddlawn am Sion Colli, Yr hwn a Laddodd ei Dad a'i Fam yn Henffordd, a'i Feistres yn Amsterdam, yn Holland, lle'r oedd yn Gwasanaethu fel Troed-was.

Aberhonddu, Argraphwyd gan W. a G. North. [Pris un Geiniog.]'

35. ¶ ['At Gymdeithas y Gwyneddigion, yr Awdl hon i'ch Gwlêdd Flynyddawl, sy'n cael ei hanfon ich plith i dderbyn y fath Frawd gyfion ag a ddichon i'w haeddiant ddenu oddiwrth goleddwyr eu hiaith a Barddoniaeth, gan eich Cyfaill, Thomas Jones.

Argraphwyd gan J. Jones, Chapel Street, Soho, London.' 8plyg.

Nid oes dyddiad ar y gynddalen; ond ar y tudalen nesaf, lle y mae y gwaith yn dechreu, ceir—'Awdl i Wlêdd y Gwyneddigion. 15ed o Orphennaf, 1799.' Odid na chafodd yr awdl ei hargraffu *erbyn* y wledd grybwylledig. Y mae y cyfansoddiad yn Gymraeg a Seisoneg; y Gymraeg ar ddalen y llaw chwith, a'r Seisonaeg ar gyfer hyny ar y llaw dde. Cynnwys 12 tudalen 8plyg. Yr awdwr oedd y Bardd Cloff. Y mae hefyd yn canlyn, ond wedi ei thudalenu ar ei phen ei hun, gân o 4 tudalen, gan Edward Charles, a elwir 'Cerdd Cylchwylwedd y Gwyneddigion, Llundain, 1799.' Ymddengys mai camargraff yw 'Cylchwylwedd' yn lle Cylchwylwledd.

Thomas Jones a anwyd ym mhlwyf Llandyssilio, swydd Ddinbych, yn 1768. Yn ei fabandod cyfarfu â damwain, yr hyn a'i cloffodd am y rhelyw o'i ddyddiau; yr hyn a barodd iddo ddewis *Bardd Cloff* fel ei ffugenw barddol. Pan yn ddeuddeg oed aeth i Lundain, pryd y rhoddwyd ef mewn cyfrifdy yn yr Erw Hir; ac yn y brif ddinas y treuliodd y rhan fwyaf o weddill ei oes, yr hon a ddaeth i'w therfyn ar y 18fed o Chwefror, 1828. Yr oedd yn fardd da, yn enwedig yn y mydrau rhyddion. Yr oedd yn aelod gweithgar o Gymdeithasau y Gwyneddigion a'r Cymmrodorion.*

Edward Charles, neu fel yr ymgyfenwai weithiau, *Siamas o Wynedd*, ydoedd enedigol o Glocaenog, ger Rhuthyn. Treuliodd yntau ei oes, gan mwyaf, yn Llundain, ac yno y bu farw o ddeutu y fl. 1828. Yr oedd yn aelod o Gymdeithas y Gwyneddigion; ac efe oedd ysgrifenydd y Gymdeithas hòno yn 1796.

* Gweler cofnod helaethach am dano yn Williams's *Eminent Welshmen*, d.g.

Efe hefyd oedd y cyntaf a etholwyd yn Fardd y Gymdeithas, yn 1800; a bu yn y swydd hòno drachefn yn 1810.]*

## 1800.

1. 'Cardiganshire Landlord's Advice to his Tenants. Heb Dduw Heb Ddim. At the Hafod Press, By James Henderson.'

Gwaith y Milwriad Johnes yw y llyfr hwn, canys yn niwedd y traethawd ceir ei enw, 'Thomas Johnes. Hafod, Nov. 4. 1799.' Ond ymddengys mai yn y flwyddyn hon y cafodd ei argraffu, gan fod iddo attodiad yn cynnwys 'An Account of the Mode and Expense of Cultivating Moss and Peat Lands, Copied from the Edinburgh Adventurer, of May 2, 1800.' Yn ei ddiwedd ceir 'Henderson, Printer, Hafod.' Ei faint yw 160 tudalen 8plyg. Cafodd y llyfr uchod ei gyfieithu i'r Gymraeg ar draul ei awdwr, a chwiliwyd am y Cymro goreu a allesid ei gael i wneyd hyny; a neb llai a osodwyd wrth y gorchwyl na'r Dr. Owen Pughe, yr hwn a wnaeth hyny yn ei ddull ysgolheigaidd ei hun, ac nid yn null sathredig y wlad, o dan yr enw—

2. 'Cynghorion Priodor o Garedigion i Ddeiliaid ei Dyddynod.

Llundain, Argraphwyd yn y flwyddyn 1800.' [8plyg.]

A chan hyny yr oedd yn hollol ddifudd† i'r rhai y bwriadwyd ef er eu lles. Cynnwysai 136 o dudalenau 8plyg. Dywedir y rhoddwyd argraffiad Seisonig o hono allan o argraffdy yng Nghaerodor yn yr un flwyddyn hon.‡

3. 'Pregeth ar Ddioddefaint Crist, o Waith Joseph Hall. D.D. ynghyd a Thraethawd, Ar Ddiogelwch y Credadyn, neu Helaethrwydd Marwolaeth Crist, i'r holl had Etholedig, gwedi ei gymmeryd allan o'r Llyfr enwog hwnnw o Waith John Owen, D.D. a elwir Angeu i Angeu y' Marwolaeth Crist: Lle y Dangosir, I. Cydsyniad, â neilltuol weithredoedd Duw y'ngwaith prynedigaeth dyn, trwy waed Crist. II. Symmudiad y camsyniadau o ddiben marwolaeth Crist, ac attebiad i'r rhai sydd yn ceisio amddiffyn prynedigaeth gyffredinol. III. Amddiffyniad o ddigonolrwydd iawn Crist, i fodd-

* *Golud yr Oes*, ii. 50.

† [Nid ydoedd felly mewn un modd; er y gallasai'r cyfieithiad mewn llawer man fod yn rhwyddach ac yn fwy dealladwy. Ei argraffeb yn y llyfr o'm blaen sy fel hyn:—'Llundain: Argraffedig gan S. Rousseau, Heol y Coed, gar Ffynon-Feusydd. 1800.' Blaenorir y gynddalen gan gerflun plygedig o amaethlan, yn ol y cynllun a gymmeradwyir yn y gwaith. Wrth 'Heol y Coed' a 'Ffynon-Feusydd' y golygir *Wood-Street, Spa-Fields.* Rousseau a argraffodd hefyd y *Myvyrian Archaiology*, *Cadwedigaeth yr Iaith Gymraeg* (yn llythyraeth y llythyrenau cyssefin gydag arwyddion y cyfnewidiadau), y *Greal*, *Egluryn Ffraethineb*, a rhai llyfrau ereill yr oedd a wnelai Puw â hwynt. Yr oedd yn argraffydd tra gofalus a chywrain.]

‡ [Felly y bu; canys mi a welais y cyfryw argraffiad: ond dichon mai yr un argraffiad yw y ddau, gyda dalen wyneb wahanol.]

loni cyfiawnder gofynol Duw, i gyfnewid cyflwr yr enaid, i ddwyn ymlaen a pherffeithio gras, a'i ogoneddu yn y gogoniant. IV. Rhesymau gwedi eu profi o air Duw, yn erbyn prynedigaeth gyffredinol, ac attebiad i bob rheswm o bwys a ddygbwyd yn erbyn prynedigaeth neilltuol. Ynghyd â helaeth eglurhâd o feddwl yr amryw destynnau ac y mae'r Arminiaid yn ceisio gwneud defnydd o honynt i brofi prynedigaeth gyffredinol. A Gyfieithwyd gan William Thomas, Gweinidog yr Efengyl yn y Bala.

Trefecca, Argraphwyd: 1800. (Pris Swllt.)'

Ar ddiwedd y traethawd ceir 'Trefecca: Argraphwyd, Gan E. Roberts, & Co. 1800.' Y mae hefyd bedair o hymnau, gwedi eu harwyddo â 'J. T.'=John Thomas, o'r Cae Bach, ger Rhaiadr Gwy, mae yn debyg. Ar y tudalen diweddaf, ceir hysbysiad o fwriad Mr. Thomas i ddwyn allan Esboniad y Dr. Guyse ar y Testament Newydd; yr hwn hefyd a ddaeth allan yn dra annyben, yn olynol o argraffwasg Trefecca, Caerfyrddin, a'r Bala.

4. 'Epistolary Correspondence, containing Official, Political, and Explanatory Letters, (with an introductory preface.) Written upon patriotic points and particular occasions, to the Right Reverend Dr. Warren, Bishop of Bangor, and to a Member of the British House of Commons. In two parts. By James Jones Morgan.

Printed for the Author; By Swinney & Hawking, Birmingham; and sold by Richardson & Co. London, and all other Booksellers. 1800.'

James Jones Morgan ydoedd enedigol o Ddeheudir Cymru, o deulu heb fod yn gyfoethog. Pan oedd, gan analluogrwydd ei rieni i'w gynnal i fyned trwy yr amser gofynol yn Rhydychain, i gael ordeiniad yn yr Eglwys Sefydledig, efe a gafodd feistrolaeth Ysgol Ramadegol Dolgellau. Gweled yr ysgol hòno yn cael ei hesgeuluso gan yr ymddiriedolwyr, o blegid, meddai efe, wrthwynebiad y Parch. Robert Hughes, person Dolgellau, yr hwn oedd yr ymddiriedolwr penaf, o blegid ei fod yn frawd yng nghyfraith i feistr Ysgol Ramadegol Rhuthyn, rhag i hòno golli ei bri yng ngwellâd Ysgol Dolgellau, a barodd iddo ysgrifenu y gwaith hwn. Achwyn ar y gam drefn y mae y llyfr, mewn llythyrau at esgob Bangor.

5. 'Remarks on a Tour to North and Wales South in the Year 1797. By Henry Wigstead; with plates from Rowlandson, Pugh, Howitt, &c., aquatinted by T. Hill. 1800.' 8vo.

Cynnwys hwn lawer o ddarluniau rhagorol.

6. 'Marwnad neu Goffadwriaeth am Hugh Jones, o Fwlch y Fedwen, yn Sîr Fon; yr hwn a ymadawodd â'r byd, Ionawr y 1af,

1800, yn yr 28 o'i oed. Yn nghyd âg ychydig o Bennillion i annerch Cyfaill ag oedd yn esgeuluso dyfod i'r Eglwys.

Caernarfon: argraphwyd gan T. Roberts.'

Cyhoeddodd T. Roberts lyfrau ereill yn y blynyddau dyfodol; megys 'Y Rhuthrymgyrch o Ffrainc,' yn 1802;' 'Marwnad neu Goffadwriaeth am y Brawd Robert Roberts, o sir Gaernarfon,' yn 1802 neu 1803; 'Welsh Grammar,' gan Gambold, yn 1809. Dywedir y buasai yr argraffiad hwn yn anrhydedd i lawer swyddfa yn yr oes fanteisiol hon, gan mor ddestlus oedd ei argraffwaith.

7. ¶ 'Second Walk through Wales, by R. Warner. 1800.'*

8. ¶ 'The Tower of Babel, or an Essay on the Confusion of Tongues. By John Jones, Member of Eminent Societies at home and abroad.

London: Printed by Theodore Page, 47 Blackfriars Road.'

Y mae yn ei flaenori lythyr o 'Dedication: To the Right Honorable John Trevor, late Min. Plenip. at the Court of Turin,' &c. Y mae yn amlwg oddi wrth y cyflwyniad uchod fod yr awdwr, yn gystal a John Trevor, yn Gymro. Yr oedd yr Anrhydeddus John Trevor wedi bod yn dal y swydd o lysgenad yn Turin; ac yn 1789 penodwyd ef yn weinidog llawnalluog yno, lle y bu hyd 1799; yr hyn a ddwg amseriad y llyfryn i'r flwyddyn hon o leiaf. Cafodd ei wneyd yn farchog wedi hyny.†

'Sir,—This tribute of respect is presented by an Ancient Briton.

'Give me leave to solicit your Patronage to these Essays on that native language, which your Ancestors left as an inheritance to their children.

'On this occasion I discharge a sacred trust for my departed friend, a French Author.

'Perhaps no man living ever studied so much as the celebrated Mons. Le Beyant, to render our common mother tongue an object of veneration.

'Nor am I less zealous to hold it up as the means of proving the first settlement of Britons in America so far back as the xii Century.

'At all events I often reflect with pleasure on the days of my youth when "*Heb Dduw heb ddim*," the pious motto of your arms, made a deep impression on my mind, while your Welsh name expressed your fair descent from the Norman Grenvilles.'

9. ¶ 'Pregethau ar Amryw Destynau Buddiol: Gan y Parchedig R. Thomas, A.M.

Caerlleon: Printiedig gan J. Fletcher, er Budd i J. Poole ac i J. Fletcher.' [8plyg.]

* Gwel rhif 2, d.f. 1697; rhif 28, d.f. 1798; a rhif 27, 1799.

† *Llythyr cyfrinachol* oddi wrth Arglwydd John Russell.

Y mae y gyfrol yn cynnwys 25 o Bregethau, a'r cyflwyniad i esgob Bangor, yng nghyd ag 'Advertisment to the Reader,' wedi ei amseru, 'Beaumaris, Dec. 4. 1790;' ac 'At y Darllenydd:' felly ni allasai cyhoeddiad hwn fod yn gynt na'r fl. 1800.* Yn 1809, daeth allan 'Yr Ail Lyfr,' yn cynnwys 30 o Bregethau, gan yr un awdwr, wedi ei argraffu yng Ngwrecsam,' a'i gyflwyno 'To Sir Robt. Vaughan, Bt. M.P.' Ceir hefyd restr o 'Subscribers' Names.' Yn 1822, daeth allan 'Y Trydydd Llyfr,' yn cynnwys 45 o Bregethau, gan yr un awdwr, a'i argraffu yn Llanerch y Medd. Yr awdwr,

Y Parch. RICHARD THOMAS, ydoedd fab i'r Parch. Ellis Thomas, person Llanllyfni, Arfon, a Jane ei wraig, yr hon oedd ferch William Parry, o'r Monachdy, Clynnog, ac wyres i Ellis Evans, o'r Bribwll, yn sir Feirionydd, a Jane ei wraig, yr hon oedd chwaer i'r ddiweddar Elen Glynn, Elernion, Llanaelhaiarn, sylfaenyddes Elusendai Llandwrog. Efe a anwyd Hydref 13, 1758. Cafodd elfenau ei ddysgeidiaeth yn Ysgol Ramadegol Bottwnog, a chafodd ei godi oddi yno i Rydychain, fel y dengys y dyfyniad canlynol o Goflyfr Coleg Oriel, 1776, Rhag. 17:—'Ric. Thomas, 18, Ellis fil. de Bottwnnog. Carnarv. Cler. Fil.' Efe a raddiwyd yno, fel y dengys y dyfyniad canlynol o Lyfrau Graddogion Rhydychain (arg. 1851):—'Thomas (Rich.) B.A. May 25. 1780, M.A. 22, 1783.' Cafodd ei ordeinio yn ddiacon gan John Warren, esgob Bangor, ar Sul y 23ydd o Fedi, 1781, ac yn offeiriad, gan yr un esgob, ar Sul y 21fed o Fedi, yn 1783, a'i benodi yn Ben-Athraw Ysgol Biwmares, ac hefyd yn weinidog Llanfaes a Phenmon, ar y 12fed o Dachwedd, 1783. Efe a briododd Elisabeth Owen, o Benhesgin, Mon, Chwefror 14, 1791. Ar y 1af o Chwefror, 1830, cafodd ei ddyrchafu i bersoniaeth Llanfair Fechan. Pan oedd yno efe a adeiladodd ar ei draul ei hun bump o annedd-dai i dlodion, ond ar dir mewn dadl am ei berchenogaeth, pa un ai cyttir, ai tir yn perthynu i ystâd Baron Hill ydoedd; ond ar y dybiaeth mai yr olaf ydoedd, gofynwyd a chafwyd rhyw fath o ganiatâd, er na wnaed erioed drosglwyddiad o honynt. Y mae y llywodraeth drostynt wedi syrthio i ddwylaw arolygwyr y tlodion a'r wardeiniaid. Ni bu erioed waddoliaeth yn perthyn iddynt. Adeiladodd hefyd ysgoldy ger y persondy, lle y cadwai athrawes i ddysgu merched, a'r cwbl ar ei draul ei hun. Yr oedd yn rhoddi ymaith i'r tlodion 100*p*. at eu gilydd yn flynyddol. Y gorchwyl diweddaf a wnaeth, oedd rhoddi 20*p*. i'r Gymdeithas er Lledaenu yr Efengyl mewn Parthau Tramor. Bu farw Medi 5, 1834, yn 76 oed, a chladdwyd ef yn Llanfair Fechan.†

10. 'Tour round North Wales, &c. By W. Bingley. [London, 1800, 2 vols. 8vo.]

[Y Parch. WILLIAM BINGLEY, B.C., ydoedd wr eglwysig; a chymmrawd o Goleg Pedr Sant, yng Nghaergrawnt. Bu farw yn 1823. Heb law ei Daith yng Ngwynedd, a gofrestrir yma, cyhoeddodd 'Animal Biography;' 'Memoirs of British Quadrupeds,' a gweithiau ereill.]

* [Pa sut felly? Onid oes deng mlynedd gyfan rhwng 1790 a 1800? Yn 1790 yr ymddangosodd y gyfrol; er nad oeddwn hysbys o'r amseriad pan yr oedd cofrestr y flwyddyn hòno yn myned drwy y wasg.]

† *Llythyrau* y Parchn. J. Evans, Llanllechid; Deon Vincent, Bangor; a T. James, Netherthong, Huddersfield.

11. 'Observations on the River Wye and several Parts of South Wales. By W. Gilpin.' 1800.

[Y Parch. WILLIAM GILPIN, A.C., gwr eglwysig, ac ysgrifenydd coethwych, a aned yng Nghaerliwelydd, Cumberland, yn 1724. Derbyniodd ei ddysg athrofaol yng Ngholeg y Frenines, Rhydychain. Bu amryw flynyddoedd yn athraw ysgol yn Cheam, yn Surrey, ac wedi hyny cafodd fywoliaeth Boldre, yn y Gelliwig Newydd, a phrebenduriaeth yn Eglwys Gadeiriol Salsbri. Ysgrifenodd dwysged o gyfrolau, a rhoddodd yr holl elw deilliedig oddi wrth eu gwerthiant, i waddoli ysgol yn Boldre. Bu farw yn y fl. 1804, yn 80 mlwydd oed.]

12. ¶ 'The Cambrian Directory, or Cursory Sketches of the Welsh Territories.

Salisbury, 1800.'

25. 'Tour through parts of North Wales, interspersed with Observations on its Scenery, Customs, History, Antiquities, &c. By the Rev. J. Evans.' 1800. [8vo.]

14. ¶ 'Cyhoeddiadau Cymdeithas y Gwyneddigion, yn Llundain am y Flwyddyn, 1800.

Argraffedig gan J. Jones, Heol y Capel, Soho.' [8plyg.]

Y mae gyferbyn â'r rhagddalen gerflun o 'Hu Gadarn yn arwain, y Cymry i Ynys Prydain;' 'Rhagadroddiad;' 'Awdyl ar Ansawdd Gwybodaeth a Dysg, ar Gload y Ddeunawfed Ganmlwydd, gan Gynddelw,' sef Walter Davies. Y mae hefyd 'Awdyl' arall 'Gan John Roberts, Pen yr Allt, gerllaw Pwllheli,' neu Sion Lleyn; a 'Chywydd i Swyddogion y Gwyneddigion, yn Llundain, am y Flwyddyn Deunaw Cant, gan Robert Davies, Bardd Nantglyn.'

[Y mae y gwaith hwn wedi ei ragamseru. Nid oes dyddiad i'r un o'r dalenau enwol; ond amserir y 'Rhagadroddiad' yn 'Llundain, 1801;' ac ar ddiwedd Awdl Sion Lleyn ceir yr argraffeb ganlynol :—'Argraffwyd gan J. Jones, Heol y Capel, Soho. 1801.' Nid yw cywydd Bardd Nantglyn yn perthyn i'r llyfryn hwn; er, hwyrach, iddo ymddangos yn gyfamserol ag ef.]

15. 'English and Welsh Dictionary.

Chester, 1800.' [Small 8vo.]

[Yr argraffiad cyntaf o Eiriadur Seisoneg a Chymraeg y Parch. Thomas Jones, yr amser hwn o'r Wyddgrug, ac wedi hyny o Ddinbych.]

16. 'Cambrian Directory, or Cursory Sketches of the Welsh Territories.

Salisbury: 1800.'

[Yr un, mae yn ddilys, â rhif 12 uchod; ond hyd yr wyf yn deall yn 1801 yr ymddangosodd.]

17. 'Some Account of the Proceedings that took place on the landing of the French near Fishguard, in Pembrokeshire, on the 22d February, 1797; and the Inquiry afterwards had into Lieut.-Col. Knox's Conduct on that occasion. By order of his Royal Highness

the Commander in Chief; together with the Official Correspondence, and other Documents. By Thomas Knox, Late Lieut.-Col. Commander of the Fishguard Volunteers.

London: Printed by A. Wilson, Wild-court, Lincoln's Inn Fields. 1800.'

18. 'Sara, Neu, Eglwys y Jerusalem uchod yn bwrw allan Blant y Cnawd, ac yn naccau Aelodaeth Eglwysig iddynt. Yn yr hwn y rhoddir Attebiad i Lyfr Mr. P. Edwards, yn ei ddau ffurfiad Cymreig; un a elwir Drws i'r Eglwys, wedi ei agoryd yn Lled y Pen; Yr hwn a dalfyrwyd, a gymmysgwyd, ac a chwanegwyd ato, gan Mr. Thomas Jones, Curad Creaton. A'r llall a elwir Rhesymmau Teg am ymwrthod ag Egwyddorion y Bedyddwyr; Yr hwn a gyfieithwyd gan Mr. Thomas Price, Curad Caerfyrddin. Gan Christmas Evans.

Caerfyrddin: Argraphwyd, ac ar werth, gan Ioan Evans, yn Heol-y-Prior. 1800.'

[Ni chofnodir llyfryn Mr. Price yn y gwaith hwn, er y rhaid ei fod wedi ymddangos ryw amser cyn ymddangosiad y llyfr hwn o'r eiddo C. Evans.]

19. ¶ 'History Nicodemus.

Argraffwyd yn Dolgellau.' 1800.

20. ¶ 'Selections and Originals for Mr. Thelwall's Lectures.

Birmingham, Printed. 1800.'

Cyhoeddwyd hefyd y flwyddyn nesaf waith ar 'Runic Mythology of Monmouthshire,' dan yr enw 'The Fairy of the Lake, the Hope of Albion,' gan John Thelwall, ac argraffwyd ef yn Henffordd, 1801. Y mae yn traethu am ryw chwedlau am yr afon Gwy, Dyffryn Taf, Merthyr Tydfil, Ceryg Einion, &c.

21. ['Gan y Brenin. Cyhoeddiad.'

Ar y godre y mae—'Argraffedig gan George Eyre ac Andrew Strahan, Argraffwyr i Ardderchocaf Fawrhydi y Brenin. 1800.'

Un wyneb dalen fawr yn unig yw y cyhoeddiad breninol uchod; a'i amcan ydoedd, 'annog i bob cyfryw y fo â Moddion ganddynt i gaffael Pethau ereill at Ymborth y Cynnildeb a Gofal mwyaf yn nghylch Traul pob Math o Yd.' Cyfieithiad y Dr. Owain Puw ydyw; canys y mae ei leferydd yn gyhuddo yn amlwg.]

22. ¶ ['Llythyr at Gyfaill, ar y Pwngc o Ymneulltuo oddi wrth yr Eglwys Sefydledig.'

Llyfryn o 24 tudalen 16plyg ydyw, heb na dalen enw, na dyddiad, nac enw argraffydd, na'r lle yr argraffwyd ef ynddo; ond barnaf iddo ymddangos yn ystod y degaid olaf o'r ddeunawfed ganrif. Ymlofnoda yr awdwr ar ei ddiwedd yn 'A. B.' Rhesymau Ymneillduwr am ymddydoli oddi wrth yr Eglwys ydyw ei gynnwysiad.]

23. [‘Eurgrawn.’ 1800. 8plyg.

Ni welais ond un rhifyn, sef y cyntaf, o’r ‘Eurgrawn’ hwn, os daeth chwaneg o hono allan. Nid oes i’r cyfargraff a welais na dalen enwol nac amlen; ond yr enw ar frig y ddalen gyntaf o gorff y gwaith yw ‘Eurgrawn,’ a dim ond hyny. Yna y canlyn :—‘ Rhif. 1. Jonawr 10, 1800. Llyfr I.’ Cynnwysa dwysged o erthyglau ar bynciau hynafiaethol, ac amryw o hen ysgrifau mewn rhyddiaith a barddoniaeth. Mi a dybiwn mai Dafydd Ddu Eryri oedd â’r llaw benaf yn ei olygiaeth. Cynnwysa y rhifyn ger fy mron 54 tudalen; ond y mae rhyw faint o’i ddiwedd ar goll. Argraffwaith gwael ddigon, a henaidd ei olwg, sydd arno; a thybiaf mai o wasg W. C. Jones, Caerlleon, y daeth allan. Ymddengys i mi mai math o adgodiad o’r greal hwn ydoedd ‘Trysorfa Gwybodaeth, neu Eurgrawn Cymraeg,’ y cyhoeddwyd y rhifyn cyntaf o hono yng Nghaernarfon yn 1807.]

24. [‘Traethawd Defnyddiol am Ben-Arglwyddiaeth Duw. Gan Eliseus Cole.’

Caerfyrddin, 1800, 8plyg.]



# DANGOSEG.

C.

D.

E.

F.



F (FF).



G.

## H.

I.

K.

## M.

N.

Q.



R.

## S.



## T.

Y.

